# YR ATHRAWYDD PAROD:

SEF

## HYFFORDDYDD ANFFAELEDIG

I

# Ddarllen ac Ysgrifenu Cymraeg

YN NGHYDA

## RHEOLAU BARDDONIAETH GYMREIG

AC

## ELFENAU RHIFYDDIAETH.

---

WEDI EI GASGLU GAN
J. WILLIAM JONES,
*Golygydd "Y Drych."*



UTICA, E. N.:
CYHOEDDWYD AC ARGRAFFWYD GAN DAVIES & GRIFFITHS.
1860.

# RHAGYMADRODD.

NID ydyw yr ysgrifenydd yn barnu fod yn ofynol dweyd ond ychydig iawn fel rhagymadrodd i'r llyfryn hwn, o herwydd nid yw yn cynwys unrhyw syniad na damcaniaeth newydd. Y prif amcan mewn golwg wrth ei gasglu oedd, crynhoi yn nghyd, mewn cylch bychan, elfenau sylfaenol Rhyddiaith, Barddoniaeth, a Rhifyddiaeth. Y cyhoedd sydd i farnu pa mor bell y llwyddasom yn ein hamcan. Yr ydym yn credu nad oes yr un llyfr yn ein hiaith, o faint hwn, ac am bris mor isel, yn cynwys pethau mor anhebgorol angenrheidiol er cyfaddasu y Cymro, fel aelod defnyddiol mewn cymdeithas.

Mae yr engreifftiau yn ei ddechreu yn ddigonol i ddysgu y sawl a'u hefryda, i sillebu, darllen, ac ysgrifenu. Hefyd, mae y sylwadau ar reolau barddoniaeth wedi eu hysgrifenu yn ddestlus ac amlwg, gan fardd profedig, sef Mr. THOS. B. MORRIS, (*Gwyneddfardd.*) Yr oedd terfynau y gwaith yn rhy gyfyng i oddef llawer iawn o fanylrwydd ar y gwahanol fesurau; ond credwn fod y ffordd i'r mesurau caethion wedi ei goleuo yn bur dda.

Yr ydym yn honi fod y cynllun a fabwysiadwyd genym i egluro elfenau rhifyddiaeth yn wahanol i ddim a welir yn y Gymraeg a'r Saesonaeg. Nid ydym am roddi ar ddeall fod dim yn hanfodol newydd yn ein sylwadau; ond yr ydym yn haeru fod ein dull yn

egluro y gwahanol ddosranau, yn newydd. Ni oddefai terfynau y gwaith i ni fanylu mwy, ond y mae yn sicr genym os defnyddir yr oll a ysgrifenwyd, y ceir digon o wybodaeth mewn rhifyddiaeth i alluogi yr efrydydd i fyned yn mlaen yn rhwydd gyda ei alwedigaeth.

Yr ydym yn cyflwyno yr *Athrawydd Parod* i *Gymry* America, *fel y mae*, gan gredu y bydd yn fuddiol i'r rhai a wnant ddefnydd priodol o hono.

J. W. JONES.

*Utica, E. N., Tachwedd*, 1860.

## YR EGWYDDOR.

Y modd y seinir, yr argreffir, ac yr ysgrifenir y llythyrenau.

---

| *a* | *bi* | *ec* | *ech* | *di* | *edd* | *e* | *ef* | *eff* | *eg* | *eng* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| **A** | **B** | **C** | **Ch** | **D** | **Dd** | **E** | **F** | **Ff** | **G** | **Ng** |
| *A* | *B* | *C* | *Ch* | *D* | *Dd* | *E* | *F* | *Ff* | *G* | *Ng* |

| *he* | *i* | *el* | *ell* | *em* | *en* | *o* | *p* | *phi* | *er* | *es* | *ti* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| **H** | **I** | **L** | **Ll** | **M** | **N** | **O** | **P** | **Ph** | **R** | **S** | **T** |
| *H* | *I* | *L* | *Ll* | *M* | *N* | *O* | *P* | *Ph* | *R* | *S* | *T* |

| *eth* | *u* | *w* | *y* |
|---|---|---|---|
| **Th** | **U** | **W** | **Y** |
| *Th* | *U* | *W* | *Y* |

---

| **a** | **b** | **c** | **ch** | **d** | **dd** | **e** | **f** | **ff** | **g** | **ng** |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *a* | *b* | *c* | *ch* | *d* | *dd* | *e* | *f* | *ff* | *g* | *ng* |

| **h** | **i** | **l** | **ll** | **m** | **n** | **o** | **p** | **ph** | **r** | **s** | **t** |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *h* | *i* | *l* | *ll* | *m* | *n* | *o* | *p* | *ph* | *r* | *s* | *t* |

| **th** | **u** | **w** | **y** |
|---|---|---|---|
| *th* | *u* | *w* | *y* |

---

### *Y RHIFNODAU.*

**1 2 3 4 5 6 7 8 9 0 .**

*1 2 3 4 5 6 7 8 9 0 .*

## YR EGWYDDOR GYMYSGEDIG.

**A G B L E C Ff H D F I**

*A G B L E C Ff H D F I*

**Dd P Ch M Ll N U T R**

*Dd P Ch M Ll N U T R*

**Ng O Th S Y Ph W .**

*Ng O Th S Y Ph W .*

**a g b i e l c ff d h f dd ch**

*a g b i e l c ff d h f dd ch*

**m ll p n u t ng s r th**

*m ll p n u t ng s r th*

**o y ph w .**

*o y ph w .*

### Y LLAFARIAID.

**a e i o u w y .**

### Y CYDSEINIAID.

**b c ch d dd f ff g ng h l ll**

**m n p ph r s t th .**

## SILLIAU O DDWY LYTHYREN.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| ab | eb | ib | ob | ub | ba | be | bi | bo | bu |
| *ab* | *eb* | *ib* | *ob* | *ub* | *ba* | *be* | *bi* | *bo* | *bu* |
| ac | ec | ic | oc | uc | ca | ce | ci | co | cu |
| *ac* | *ec* | *ic* | *oc* | *uc* | *ca* | *ce* | *ci* | *co* | *cu* |
| ach | ech | ich | och | uch | cha | che | chi | cho | chu |
| *ach* | *ech* | *ich* | *och* | *uch* | *cha* | *che* | *chi* | *cho* | *chu* |
| ad | ed | id | od | ud | da | de | di | do | du |
| *ad* | *ed* | *id* | *od* | *ad* | *da* | *de* | *di* | *do* | *du* |
| add | edd | idd | odd | udd | dda | dde | ddi | ddo | ddu |
| *add* | *edd* | *idd* | *odd* | *udd* | *dda* | *dde* | *ddi* | *ddo* | *ddu* |
| af | ef | if | of | uf | fa | fe | fi | fo | fu |
| *af* | *ef* | *if* | *of* | *uf* | *fa* | *fe* | *fi* | *fo* | *fu* |
| aff | eff | iff | off | uff | ffa | ffe | ffi | ffo | ffu |
| *aff* | *eff* | *iff* | *off* | *uff* | *ffa* | *ffe* | *ffi* | *ffo* | *ffu* |
| ag | eg | ig | og | ug | ga | ge | gi | go | gu |
| *ag* | *eg* | *ig* | *og* | *ug* | *ga* | *ge* | *gi* | *go* | *gu* |
| ang | eng | ing | ong | ung | gna | gne | gni | gno | gnu |
| *ang* | *eng* | *ing* | *ong* | *ung* | *gna* | *gne* | *gni* | *gno* | *gnu* |
| al | el | il | ol | ul | la | le | li | lo | lu |
| *al* | *el* | *il* | *ol* | *al* | *la* | *le* | *li* | *lo* | *lu* |
| all | ell | ill | oll | ull | lla | lle | lli | llo | llu |
| *all* | *ell* | *ill* | *oll* | *ull* | *lla* | *lle* | *lli* | *llo* | *llu* |

YR

# ATHRAWYDD PAROD:

SEF

## HYFFORDDYDD ANFFAELEDIG

I

# Ddarllen ac Ysgrifenu Cymraeg

YN NGHYDA

## RHEOLAU BARDDONIAETH GYMREIG

AC

## ELFENAU RHIFYDDIAETH.

---

WEDI EI GASGLU GAN
J. WILLIAM JONES,
*Golygydd "Y Drych."*



UTICA, E. N.:
CYHOEDDWYD AC ARGRAFFWYD GAN DAVIES & GRIFFITHS.
1860.

## RHANAU PERTHYNOL I GORFF DYN.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Bawd | Ceg | Dant | Gwddf | Gwegil |
| *Bawd* | *Ceg* | *Dant* | *Gwddf* | *Gwegil* |
| Boch | Cern | Dwrn | Llaw | Garddwrn |
| *Boch* | *Cern* | *Dwrn* | *Llaw* | *Garddwrn* |
| Bron | Clust | Gar | Pen | Gwefys |
| *Bron* | *Clust* | *Gar* | *Pen* | *Gwefys* |
| Braich | Cnawd | Gen | Siol | Penelin |
| *Braich* | *Cnawd* | *Gen* | *Siol* | *Penelin* |
| Bys | Coes | Gwaed | Traed | Tafod |
| *Bys* | *Coes* | *Gwaed* | *Traed* | *Tafod* |
| Cefn | Croen | Gwallt | Trwyn | Talcen |
| *Cefn* | *Croen* | *Gwallt* | *Trwyn* | *Talcen* |

## ENWAU ANIFEILIAID, &C.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Bran | Ci | Gast | Llo | Afanc |
| *Bran* | *Ci* | *Gast* | *Llo* | *Afanc* |
| Buwch | Cyw | Gwydd | March | Barcut |
| *Buwch* | *Cyw* | *Gwydd* | *March* | *Barcut* |
| Bwch | Dryw | Hydd | Oen | Draenog |
| *Bwch* | *Dryw* | *Hydd* | *Oen* | *Draenog* |
| Cath | Gafr | Iar | Ych | Ewig |
| *Cath* | *Gafr* | *Iar* | *Ych* | *Ewig* |

GEIRIAU O UN SILLAF.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Baich | caer | chwaer | dail | hael |
| *Baich* | *caer* | *chwaer* | *dail* | *hael* |
| balch | carn | chwedl | daint | haidd |
| *balch* | *carn* | *chwedl* | *daint* | *haidd* |
| barn | cerdd | chwig | dawn | baint |
| *barn* | *cerdd* | *chwig* | *dawn* | *haint* |
| blaen | cledd | chwif | draig | hallt |
| *blaen* | *cledd* | *chwif* | *draig* | *hallt* |
| blawd | clwyf | chwiff | ffroen | haul |
| *blawd* | *clwyf* | *chwiff* | *ffroen* | *haul* |
| bloedd | Crist | chwim | gair | iaith |
| *bloedd* | *Crist* | *chwim* | *gair* | *iaith* |
| blwydd | croes | chwin | gwael | iawn |
| *blwydd* | *croes* | *chwin* | *gwael* | *iawn* |
| braich | cwymp | chwyd | gwawr | llestr |
| *braich* | *cwymp* | *chwyd* | *gwawr* | *llestr* |
| brain | cad | chwyn | gwellt | llwyth |
| *brain* | *cad* | *chwyn* | *gwellt* | *llwyth* |
| brawd | cae | chwyrn | gwlan | merch |
| *brawd* | *cae* | *chwyrn* | *gwlan* | *merch* |
| bren | caen | chwyth | gwlaw | nerth |
| *bren* | *caen* | *chwyth* | *gwlaw* | *nerth* |

GEIRIAU O DDWY SILLAF, WEDI EU PARHAU.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Ab er | Ba ra | Cad arn | Dai ar |
| *Ab er* | *Ba ra* | *Cad arn* | *Dai ar* |
| ab erth | barn u | caf ell | daf ad |
| *ab erth* | *barn u* | *caf ell* | *daf ad* |
| ach os | bar god | cal on | dal en |
| *ach os* | *bar god* | *cal on* | *dal en* |
| ach ub | barn wr | cam fa | dal fa |
| *ach ub* | *barn wr* | *cam fa* | *dal fa* |
| ad ar | bach gen | can u | dar fod |
| *ad ar* | *bach gen* | *can u* | *dar fod* |
| ad fyd | bed ydd | car dod | dan fon |
| *ad fyd* | *bed ydd* | *car dod* | *dan fon* |
| ad nod | ben dith | can tref | dan adl |
| *ad nod* | *ben dith* | *can tref* | *dan adl* |
| ad wy | bil wg | car eg | dan od |
| *ad wy* | *bil wg* | *car eg* | *dan od* |
| add as | blaen or | cas tell | dat gan |
| *add as* | *blaen or* | *cas tell* | *dat gan* |
| add fed | blin der | caw ell | dat od |
| *add fed* | *blin der* | *caw ell* | *dat od* |
| af al | blod au | cel wydd | de all |
| *af al* | *blod au* | *cel wydd* | *de all* |

| | | | |
|---|---|---|---|
| Eb ran | ffals der | Gor fod | Hael der |
| *Eb ran* | *ffals der* | *Gor fod* | *Hael der* |
| ech doe | ffi gys | gor mod | hai arn |
| *ech doe* | *ffi gys* | *gor mod* | *hai arn* |
| ed au | ffi ol | gor wag | haedd ol |
| *ed au* | *ffi ol* | *gor wag* | *haedd ol* |
| ed rych | ffon od | gos od | hedd yw |
| *ed rych* | *ffon od* | *gos od* | *hedd yw* |
| eff ro | ffol edd | gwat war | hen aint |
| *eff ro* | *ffol edd* | *gw[illegible]t war* | *hen aint* |
| eg lur | ffol og | gw[illegible] ith | hir aeth |
| *eg lur* | *ffol og* | *gwen ith* | *hir aeth* |
| eg lwys | ffor tun | gwen yn | hyf ryd |
| *eg lwys* | *ffor tun* | *gwen yn* | *hyf ryd* |
| eg wan | ffrew yll | gwr ol | hy naws |
| *eg wan* | *ffrew yll* | *gwr ol* | *hy naws* |
| eg ni | ffug iol | gwreg ys | hy nod |
| *eg ni* | *ffugi ol* | *gwreg ys* | *hy nod* |
| ellyn | ffwd an | gwyn fyd | hu an |
| *ellyn* | *ffwd an* | *gwyn fyd* | *hu an* |
| en aid | ffyn on | gwyr yf | ha nes |
| *en aid* | *ffyn on* | *gwyr yf* | *ha nes* |

---

| | | | |
|---|---|---|---|
| Ir der | nef ol | pri od | teil wng |
| is el | neg es | pro ffwyd | tel aid |
| iech yd | neith ior | pryd ydd | ter fyn |
| Lin dys | nerth ol | pryn wr | teu lu |
| llef ain | neu add | pur deb | teyrn as |
| llu aws | new ydd | pur dan | trai an |
| lli nos | nif er | pwyll og | trall od |

lli nell
llwyn og
llaw en
lloch es
Mach lud
madd eu
man gre
march og
mawr edd
medd yg
mel in
mellt en
mell dith
merth yr
meu dwy
mill dir
mod rwy
mod ryb
mol iant
mor fil
mor grug
mor wyn
mud an
myn ud
myn ydd
myn wes

nodd fa
Ob ry
och ain
oer der
og of
ol wyn
or iau
Pal adr
par ed
pab ell
pech od
pen war
pen der
pen bleth
pen glog
pen nod
pen tref
per ffaith
per llan
per wyl
pib ell
plant os
plyg ain
por phor
porth or
pres eb

pysg od
pysg ydd
Rhag fur
rhan dir
rhing yll
rhodd wr
Rhuf ain
rhy fel
rhy fyg
rhyw iog
Sa dwrn
si brwd
si dan
sill af
sor od
sur does
swydd og
sych ed
sy lw
syrth io
Taf od
tal aith
tan baid
tar ian
taw el
teg wch

tram wy
trist wch
tros edd
trull iad
trym der
tuch an
twyll eb
tyw od
Uch el
ud gorn
uff ern
urdd as
We le
wy lo
wyth ban
wyth fed
wyth nos
Yd lan
ym borth
ym drech
ym ladd
yn fyd
yn ys
ys baid
ys gol
ys bryd

GEIRIAU O DAIR SILLAF, WEDI EU PARHAU.

Ab sen wr
*Ab sen wr*
ab sen ol
*ab sen ol*
ad na bod
*ad na bod*

a gor iad
*a gor iad*
am ser ol
*am ser ol*
am yn edd
*am yn edd*

Bardd on eg
*Bardd on eg*
bed ydd io
*bed ydd io*
blod eu og
*blod eu og*

add ol iad
*aad ol iad*
add un ed
*add un ed*
an ni wair
*an ni wair*
an ny bén
*an ny ben*
brych eu yn
*brych eu yn*
bryth on eg
*bryth on eg*
Cal on og
*Cal on og*
can ol wr
*can ol wr*
car ed ig
*car ed ig*
cof iad ur
*cof iad ur*
cre ad ur
*cre ad ur*
Da ion us
*Da ion us*
dall in eb
*dall in eb*
dam eg ol
*dam eg ol*
dan fon iad
*dan fon iad*

di add urn
*di aad urn*
di al edd
*di al edd*
de fod au
*de fod au*
di gal on
*di gal on*
dig of aint
*dig of aint*
dill ed yn
*dill ed yn*
din as wr
*din as wr*
di o gel
*di o gel*
di rag farn
*di rag farn*
doeth in eb
*doeth in eb*
dy fal der
*dy fal der*
E ang der
*E ang der*
ech ryd us
*ech ryd us*
ed en og
*ed en og*
ed i far
*ed i far*

ed liw gar
*ed liw gar*
eg lur der
*eg lur der*
ge lwys wyr
*eg lwys wyr*
eg wydd or
*eg wydd or*
eis tedd fa
*eis tedd fa*
eith in en
*eith in en*
e lus en
*e lus en*
eff eith io
*eff eith io*
e ti fedd
*e ti fedd*
eth ol iad
*eth ol iaa*
e win edd
*e win edd*
e wyll ys
*e wyll ys*
Ffi eidd beth
*Ffi eida beth*
ffo ad ur
*ffo ad ur*
ffraeth in eb
*ffraeth in eb*

en cil iwr
*en cil iwr*
en ein iad
*en ein iad*

e hed ydd
*e hed ydd*
eir iol wr
*eir iol wr*

ffre wyll io
*ffre wyll io*
ffurf a fen
*ffurf a fen*

---

ga lar nad
gall u og
glyth in eb
go chel yd
god id og
go ddef iad
go fyn iad
go gon iant
gol yg iad
gorch fyg u
gor fod aeth
gor llew in
gos od iad
gwas an aeth
gwedd i o
gwein i dog
gwel ed ydd
gwyllt in eb
Haedd ian ol
hap us rwydd
hil iog aeth
hud ol iaeth
hy nod rwydd
Iach awd wr
iach us ol
ieu enc tyd
ir eidd dra
is el drem
Lladr ad aidd
llaf ar u
llwydd ian us
llygr ed ig
llwm dost edd

llar eidd dra
lla wen ydd
lle wyrch iad
llyw ydd u
Mab ol aeth
mab wys iad
madd eu ant
man teis iol
mar wol aeth
mawr edd us
mell dith io
moes ol deb
my fyr dod
myn eg u
Naws eidd io
neill du ad
ne wid iad
ne wydd iad
ne wyn og
nos wyl io
Oed ran us
of er ddyn
off eir iad
off er yn
Par ad wys
pasg ed ig
pech ad ur
pen ad ur
pen de fig
pen llwyd ni
perch en og
per er in
perth yn as

pri od as
pysg od yn
rhag or ol
rhag rith iwr
rhed eg wr
Sar ug rwy dd
sef yll fa
ser ydd iaeth
sill iad ur
swydd og aeth
syn wyr ol
syrth ied ig
sy wydd iaeth
Ta byrdd au
tad og aeth
taw el wch
teg an au
tel yn au
ter fyn u
tos tur i
tref tad ol
tru en i
try sor fa
ty wyll wch
ty wys og
Uch af iaeth
uf udd dod
un iou deb
urdd as ol
Y chyd ig
ym ad rodd
ym droch i
ym ddir ied

GEIRIAU O BEDAIR SILLAF, WEDI EU RHANU.

**Ad** gan mol iaeth
*Ad gan môl iaeth*
ad na bydd iaeth
*ad na bydd iaeth*
ad new ydd iad
*ad new ydd iad*
an chwil iad wy
*an chwil iad wy*
an fuch edd ol
*an fuch edd ol*
an ffrwyth lon deb
*an ffrwyth lon*
af lwydd ian us
*af lwydd ian us*
af lyw odr aeth
*af lyw odr aeth*
a maeth ydd iaeth
*a maeth ydd iaeth*
ang hen rheid iol
*ang hen rheid iol*
ang hred in iaeth
*ang hred in iaeth*
ang hyf ar wydd
*ang hyf ar wydd*
ang hyf iawn der
*ang hyf iawn der*
an ned wydd wch
*an ned wydd wch*
an rhyd edd us
*an rhyd edd us*
an wad al wch
*an wad al wch*
bon edd ig aidd
*bon edd ig aidd*
budd ug ol iaeth
*budd ug ol iaeth*
cam ym ddyg iad
*cam ym ddyg iad*
can mol ad wy
*can mol ad wy*
cladd ed ig aeth
*cladd ed ig aeth*
coff ad wr iaeth
*coff ad wr iaeth*

---

GEIRIAU O BUMP SILLAF WEDI EU RHANU.

**An** ad na bydd us
*An ad na bydd us*
an es gus od ol
*an es gus od ol*
barn ed ig aeth au
*barn ed ig aeth au*
coff ad wr iaeth au
*coff ad wr iaeth au*

an ew yll ys gar
*an ew yll ys gar*
ang hyd na bydd us
*ang hyd na bydd us*

cyf new id iol deb
*cyf new id iol deb*
dar fod ed ig aeth
*dar fod ed ig aeth*

---

GEIRIAU O SAITH I NAW SILLAF.

An mhres wyl ed ig aeth ol
*An mhres wyl ed ig aeth ol*
ang hyf new id iol ed ig aeth au
*ang hyf new id iol ed ig aeth au*
ang hym er ad wy aeth ol
*ang hym er ad wy aeth ol*
an mhres wyl ed ig aeth ol deb
*an mhres wyl ed ig aeth ol deb*
cyf new id iol ed ig aeth au
*cyf new id iol ed ig aeth au*

---

GWERSI O EIRIAU UN SILLAF.

---

GWERS I.

Da yw Duw i ni, ac i bawb.
*Da yw Duw i ni, ac i bawb.*
Câr Dduw, gan ei fod mor dda.
*Car Dduw, gan ei fod mor dda.*
Nid oes neb da ond un, sef Duw.
*Nid oes neb da ond un, sef Duw.*
Pob peth sydd o Dduw.
*Pob peth sydd o Dduw*

GWERS II.

Pwy mor fawr a'n Duw ni.
*Pwy mor fawr a'n Duw ni.*
Holl air Duw sydd bur.
*Holl air Duw sydd bur*
Gair ein Duw ni a saif byth.
*Gair ein Duw ni a saif byth.*
Y ser nid ydynt lan yn ei wydd ef.
*Y ser nid ydynt lan yn ei wydd ef.*
O'm blaen i nid oedd Duw.
*O'm blaen i nid oedd Duw.*

---

GWERS III.

Ni wyr neb pwy yw y Tad, ond y Mab.
*Ni wyr neb pwy yw y Tad, ond y Mab.*
Ni wyr neb pwy yw y Mab, ond y Tad.
*Ni wyr neb pwy yw y Mab, ond y Tad*
Ti yw Crist, Mab y Duw byw.
*Ti yw Crist, Mab y Duw byw.*
Un Tad sydd i ni oll.
*Un Tad sydd i ni oll,*
Pob un a ddwg ei faich ei hun.
*Pob un a ddwg ei faich ei hun.*

---

GWERS IV.

Nid oes ffydd gan bawb.
*Nid oes ffydd gan bawb.*
Pob pren da a ddwg ffrwyth da.
*Pob pren da a ddwg ffrwyth aa.*

Duw a wnaeth bob peth er ei fwyn ei hun.

*Duw a wnaeth bob peth er ei fwyn ei hun.*

Pen pob gwr yw Crist.

*Pen pob gwr yw Crist.*

Duw a wna yr hyn a fyn ef ei hun.

*Duw a wna yr hyn a fyn ef ei hun.*

## GWERSI O EIRIAU O UN I DAIR SILLAF.

### GWERS I.

Fy mab, moes i mi dy galon.

*Fy mab, moes i mi dy galon.*

Ceisiwch yr Arglwydd tra gellir ei gael.

*Ceisiwch yr Arglwydd tra gellir ei gael.*

Llygaid yr Arglwydd sydd ar ffyrdd dyn.

*Llygaid yr Arglwydd sydd ar ffyrdd dyn.*

Dyn da a gaiff ffafr gan Dduw.

*Dyn da a gaiff ffafr gan Dduw.*

Fy mab, gwrando addysg dy dad.

*Fy mab, gwrando addysg dy dad.*

### GWERS II.

Diau fod Duw a farna y ddaiar.

*Diau fod Duw a farnu y ddaiar.*

Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw.

*Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw.*

Nid yw Duw Dduw y rhai meirw.

*Nid yw Duw Dduw y rhai meirw.*

Y Duw hwn yw ein Duw ni byth.

*Y Duw hwn yw ein Duw ni byth.*

Y Duw mawr, yr hwn a luniodd bob peth.

*Y Duw mawr, yr hwn a luniodd bob peth.*

---

### DOETH-WERSI SOLOMON.

Ofn yr Arglwydd yw dechreuad gwybodaeth.

*Ofn yr Arglwydd yw dechreuad gwybodaeth.*

Gosod dy galon ar addysg.

*Gosod dy galon ar addysg.*

Na thyn gerydd oddiwrth dy blentyn.

*Na thyn gerydd oddiwrth dy blentyn.*

Gwrando ar dy dad a'th genhedlodd.

*Gwrando ar dy dad a'th genhedlodd.*

Penaf peth yw doethineb.

*Penaf peth yw doethineb.*

Na ddos i lwybr yr annuwiolion.

*Na ddos i lwybr yr annuwiolion.*

Cadw dy galon yn dra diesgeulus.

*Cadw dy galon yn dra diesgeulus*

Nac ymryson â neb heb achos.

*Nac ymryson a neb heb achos.*

Bwrw oddiwrthyt enau taeogaidd.

*Bwrw oddiwrthyt enau taeogaidd.*

Yf ddwfr o'th bydew dy hun.

*Yf ddwfr o'th bydew dy hun.*

Ei anwiredd ei hun a ddeil yr annuwiol.

*Ei anwiredd ei hun a ddeil yr annuwiol.*

Gwell yw doethineb na gemau.

*Gwell yw doethineb na gemau.*

Ffordd i fywyd yw ceryddon addysg.

*Ffordd i fywyd yw ceryddon addysg.*

Ofn yr Arglwydd yw casâu drygioni.

*Ofn yr Arglwydd yw casau drygioni.*

Cariad a guddia bob camwedd.

*Cariad a guddia bob camwedd.*

Gwrandewch addysg, a byddwch ddoethion.

*Gwrandewch addysg, a byddwch ddoethion.*

Y neb a garo addysg, a gar wybodaeth.

*Y neb a garo addysg, a gar wybodaeth.*

Ni sicrheir dyn trwy ddrygioni.

*Ni sicrheir dyn trwy ddrygioni.*

Yn ol ei ddeall y canmolir gwr.

*Yn ol ei ddeall y canmolir gwr.*

Y neb a wrandawo ar gynghor, sydd gall.

*Y neb a wrandaw ar gynghor, sydd gall.*

Gwefus gwirionedd a saif byth.

*Gwefus gwirionedd a saif byth.*

DYLEDSWYDDAU CRISTIONOGOL.

Bydded cariad yn ddiragrith. Casewch y drwg, a glynwch wrth y da.

Mewn cariad brawdol byddwch garedig i'ch gilydd; yn rhoddi parch, yn blaenori eich gilydd; nid yn ddiog mewn diwydrwydd; yn wresog yn yr ysbryd, yn gwasanaethu yr Arglwydd; yn llawen mewn gobaith; yn ddyoddefgar mewn cystudd; yn dyfalbarhau mewn gweddi; yn cyfranu i gyfreidiau'r saint; ac yn dilyn lletygarwch.

Bendithiwch y rhai sydd yn eich ymlid; bendithiwch, ac na felldithiwch.

Byddwch lawen gyda'r rhai sydd lawen, ac wylwch gyda'r rhai sy'n wylo.

Byddwch yn unfryd â'ch gilydd; heb roddi eich meddwl ar uchel bethau; eithr yn gydostyngedig â'r rhai iselradd.

Na fyddwch ddoethion yn eich tyb eich hunain.

Na thelwch i neb ddrwg am ddrwg.

Darperwch bethau onest yn ngolwg pob dyn.

Os yw bosibl, hyd y mae ynoch chwi, byddwch heddychlawn â phob dyn.

Nac ymddielwch, rai anwyl, ond rhoddwch le i ddigofaint; canys y mae yn ysgrifenedig, I mi y mae y dial; myfi a dalaf, medd yr Arglwydd.

Am hyny, os dy elyn a newyna, portha ef; os sycheda, dyro iddo ddiod; canys wrth wneuthur hyn, ti a bentyri farwor tanllyd ar ei ben ef.

Na orchfyger di gan ddrygioni, eithr gorchfyga di ddrygioni trwy ddaioni.

---

PIGION O WERSI O'R YSGRYTHYR LAN.

Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw; a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef.

Arglwydd ein Ior ni, mor ardderchog yw dy enw ar yr holl ddaiar! yr hwn a osodaist dy ogoniant uwch y nefoedd.

A pha beth y deuaf gerbron yr Arglwydd, ac yr ymgrymaf gerbron yr uchel Dduw!

Trwy weithrodoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef.

Canys pwy bynag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl.

Eithr cyd-gauodd yr ysgrythyr bob peth dan bechod, fel y rhoddid yr addewid trwy ffydd Iesu Grist, i'r rhai sydd yn credu.

Canys Crist, pan oeddym ni eto yn weiniaid, mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol.

Ac nid oes enw arall dan y nef wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig.

Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oni syrth y gronyn gwenith i'r ddaear a marw, hwnw a erys yn unig; eithr os bydd efe marw, efe a ddwg ffrwyth lawer.

Canys gan fod marwolaeth trwy ddyn, trwy ddyn hefyd y mae adgyfodiad y meirw.

Y mae yr awr yn dyfod yn yr hon y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef: a hwy a ddeuant allan, y rhai a wnaethant dda, i adgyfodiad bywyd; ond y rhai a wnaethant ddrwg, i adgyfodiad barn.

Ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd.

---

DYLEDSWYDDAU CRISTIONOGOL A MOESOL.

Marwhewch, gan hyny, eich aelodau, y rhai sydd ar y ddaear; godineb, aflendid, gwyn, trachwant, a chybydd-dod, yr hwn sydd eulunaddoliaeth; o achos yr hyn bethau y mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufudd-dod: yn y rhai hefyd y rhodiasoch chwithau gynt, pan oeddych yn byw ynddynt: ond yr awr hon rhoddwch chwithau ymaith yr holl bethau hyn; digter, llid, drygioni, cabledd, serthedd, allan o'ch genau.

Na ddywedwch gelwydd wrth eich gilydd, gan ddarfod i chwi ddyosg yr hen ddyn, yn nghyd â'i weithredoedd; a gwisgo y newydd, yr hwn a adnewyddir mewn gwybodaeth, yn ol delw yr hwn a'i creodd ef; lle nid oes nac Iuddew na Groegwr, enwaediad na dienwaediad, Barbariad na Scythiad, caeth na rhydd; ond Crist yn bob peth, ac yn mhob peth.

Am hyny (megys etholedigion Duw, sanctaidd ac anwyl) gwisgwch am danoch ymysgaroedd trugareddau, cymwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros; gan gyd-ddwyn â'ch gilydd, a maddeu i'ch gilydd, os bydd gan neb gweryl yn erbyn neb; megys ag y maddeuodd Crist i chwi, felly gwnewch chwithau.

Ac am ben hyn oll, gwisgwch GARIAD, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd.

A llywodraethed tangnefedd Duw yn eich calonau, i'r hwn hefyd y galwyd chwi yn un corff; a byddwch ddiolchgar.

Preswylied gair Crist ynoch yn helaeth yn mhob doethineb; gan ddysgu a rhybuddio bawb eich gilydd mewn salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol, gan ganu trwy ras yn eich calonau i'r Arglwydd.

A pha beth bynag a wneloch, ar air neu ar weithred, gwnewch bob peth yn enw yr Arglwydd Iesu, gan ddiolch i Dduw a'r Tad trwyddo ef.

Chwi wragedd, ymostyngwch i'ch gwyr priod, megys y mae yn weddus yn yr Arglwydd.

Chwi wyr, cerwch eich gwragedd, ac na fyddwch chwerwon wrthynt.

Chwi blant, ufuddhewch i'ch rhieni yn mhob peth; canys hyn sydd yn rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda.

Chwi dadau, na chyffrowch eich plant, fel na ddigalonent.

Chwi weision, ufuddhewch i'ch meistriaid yn mhob peth yn ol y cnawd; nid â llygad-wasanaeth, fel boddlonwyr dynion, eithr mewn symlrwydd calon yn ofni Duw.

A pha beth bynag a wneloch, gwnewch o'r galon, megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion; gan wybod mai gan yr Arglwydd y derbyniwch daledigaeth yr etifeddiaeth: canys yr Arglwydd Crist yr ydych yn ei wasanaethu.

Ond yr hwn sydd yn gwneuthur cam, a dderbyn am y cam a wnaeth; ac nid oes derbyn wyneb.

Chwi feistriaid, gwnewch i'ch gweision yr hyn sydd gyfiawn ac uniawn; gan wybod fod i chwithau Feistr yn y nefoedd.

Parhewch mewn gweddi, gan wylied ynddi mewn diolchgarwch; gan weddio hefyd drosom ninau, ar i Dduw roddi i ni ddrws ymadrodd, i adrodd dirgelwch Crist, am yr hwn hefyd yr ydwyf mewn rhwymau.

---

## YR ORGRAFF GYMREIG.

Y mae orgraff y Gymraeg yn y fath sefyllfa gymysglyd, fel y mae yn anhawdd gwybod pa lwybr sydd oreu i'w ddilyn. Dybla rhai y cydsyniaid fel hyn: accen, atteb, amlyccach, cynnwys, cymmysg, ammherffaith, ym mhob, yng nghyd; ac y mae rhai yn myned mor bell a'u dyblu yn y geiriau, bann, byrr, honn, llymm, penn, &c. Eraill a ysgrifenant y geiriau uchod âg un gydsain, fel hyn: acen, ateb, amlycach, cymhwys, cymysg, anmherffaith, yn nghyd, yn mhob, ban, byr, hon, llym, pen, &c. Ysgrifena eraill fel hyn: a'mherffaith, y'nghyd, y'mhob, yng hyd, &c. Cytuna y tri dosbarth i ddyblu y cydseiniaid yn cynnal, ammaeth, pennill, etto, &c. Rhoddir dwy gydsain gael gan y rhan amlaf o awdwyr yn y geiriau hyn: annoeth, annhrefn, &c., ac yn pennod (*chap-*

*ter*); ac ysgrifenant anmherffaith, anmharch, &c., ac *ng* yn unig yn anghyson, anghywir. Mae rhai ysgrifenwyr yn dyblu y cydseiniaid yn y geiriau *camu, tori,* &c., er dangos yr acen, ac er mwyn gwneuthur y geiriau yn fwy grymus; eraill a osodant yr acen ar y llafariaid fel hyn: càmu, tòri, ac arferant yr acen hefyd er gwahaniaethu geiriau a sillebir â'r un llythyrenau, ond ydynt yn wahanol yn eu hystyr, megys môr (*the sea*); mor (*how so*); tôn (*note, or tune*); ton (*wave, or breaker*), &c, Arfera rhai yr arddawd *yn* yn mhob man, megys yn mhob, yn nghyd, &c. Arferir yr *h* yn gyffredin yn cenhedlu, cymharu, &c. Ysgrifenir y gair *ameu* yn *ammheu* gan rai, er cadw ei wreiddyn; a'r gair *ameg* â dwy *m*, am yr un rheswm. Ceidw rhai ddwy *n* yn y gair *meddianu*, am ei fod yn tarddu o *meddiant*, a bod y *t* yn troi yn *n*, meddiant; ond anaml iawn y rhoddant ddwy *n* yn *diflanu*, er ei fod yn tarddu o *diflant;* am hyny, tybir mai gwell fyddai rhoddi ond un *n* yn y ddau air hyn a'u cyffelyb. Arfera rhai ddwy *m* yn *cymod*, dwy *n* yn *cynal*, a dwy *t* yn *cytundeb*, am fod cymod yn tarddu o *cyd* a *bod*, cynal o *cyd* a *dal*, a cytundeb o *cyd* ac *undeb*; ond gan mai yr un peth yw *cy, cyd, cyf, cym, cyn, cyt,* paham na wnai y tro ysgrifenu y geiriau uchod âg un gydsain? Un gydsain a arferir agos bob amser yn cymath, cyni, cysain, cysur, y rhai ydynt o'r un cyfansoddiad yn union a'r geiriau cymod, cynal, &c. Mewn geiriau y byddo perygl camgymeryd eu hystyr, efallai mai gwell fyddai dyblu y cydseiniaid, megys yn y gair *cynnelw*, yr hwn a arwydda *cyn* a *delw*, ac nid cynelw; y gair *pennod*, yr hwn a arwydda *pen* a *nod*, &c., ac yn y geiriau lle yr arferir y negidydd *an*, megys *annoeth, annhrefn*, &c., am eu bod yn tarddu o *an* a *doeth*, ac *an* a *trefn*, ac y byddai dileu y negidydd o un o'r rhai hyn yn dileu haner eu hystyr.

*A* ac *â*.—Mae llawer o ysgrifenwyr tra medrus, yn dueddol iawn, trwy ddifaterwch ac esgeulusdra yn benaf, i gymysgu *a* ac *â* â'u gilydd, neu i beidio gwneyd gwahaniaeth rhyngddynt, drwy osod y ddwy yn *a*. Defnydd y gromfach, fynychaf, yw estyn y sain; ond y mae hefyd yn cael ei defnyddio i wahaniaethu yr ystyr.

Nid yw yr *a* gyffredin ond cysylltiad, ac y mae yn cael ei ddefnyddio o flaen geiriau a ddechreuasant â chydseiniaid; megys, gwryw *a* benyw, gwynt *a* gwlaw, gallu *a* mawredd, &c. Ond y mae *â* gromfachog yn berwyddiad weithiau, megys, *Efe a â, myfi a âf*, &c.; ac y mae weithiau yn arddodiad, megys, Lladd â

chleddyf, cerdded â ffon yn ei law, cymaint â chawr, y fath eiriau â hyn ; yn y ddau enghraifft cyntaf y mae yn cyfateb i *go* yn Saesoneg, yn â chleddyf, ac â ffon, y mae yn cyfateb i *with*, ac yn y ddau olaf y mae yn cyfateb i *as* yn Saesoneg. Mae *a* weithiau yn gwasanaethu swyddi eraill, megys rhagenw, ac hefyd arwydd goreiriol ; ond gan na arferir gwneyd gwahaniaeth rhwng y rhai hyny a'r *a* gysylltiadol, nid oes eisiau rhoddi enghreifftiau. Yr unig beth sydd gan yr efrydydd i ofalu am dano yw, gosod y gromfach uwchben yr â pan fyddo yn sefyll am *go*, *with*, ac *as*, yn Saesoneg, yr hyn a ellir wybod yn rhwydd.

*Ac* ac *ag*.—Ysgrifenwyr Cymreig ydynt yn dra thueddol i beidio gwneyd un gwahaniaeth rhwng y ddau air *ac* ac *ag*. Mae y ddau hyn yn sefyll tuag at eu gilydd yn gymhwys fel y mae *a* ac *â* yn sefyll tuag at eu gilydd. *Ac* sydd gysylltiad, ac arferir ef o flaen geiriau sydd yn dechreu â llafariaid, megys, Dafad *ac* oen ; caseg *ac* ebol ; aur *ac* arian, &c ; ac *ag* sydd arddodiad a arfer yn lle *â*, pan fyddo y gair canlynol yn dechreu â llafariad ; megys, Prynu *ag* aur, aeth *ag* ef ymaith, boddloni *ag* aberth, &c. Canfydda y darllenydd fod *ac* yn cyfateb i *and*, ac *ag* i *with*, yn Saesoneg. Pan fyddo *âg* yn cael ei ddefnyddio, nid oes angen am y gromfach uwchben yr *a*, mwy nag yn *nag*, gan fod yr *c* a'r *g* yn ddigon i wahaniaethu y ddau aur, ac i ddangos yr ystyr.

*Na* a *nâ*.—Aferir y ddau air hyn yn ddiwahaniaeth gan lawer o ysgrifenwyr a gymerant arnynt fod yn hyddysg yn yr iaith ; ond er hyny, y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt, a dylid bod yn ofalus rhag eu cymysgu â'u gilydd. *Na* sydd gysylltiad weithiau, a gorair negyddol bryd arall, yn cyfateb i *nor*, *neither*, *no*, *not*, fel y byddo yr achos yn gofyn ; ac arferir ef o flaen geiriau yn dechreu â chydsain ; megys, Dyma beth heb *na* dechreu *na* diwedd ; *Na* ladd, *na* ladrata, *na* fu, *na* ddaeth. Ond am *nâ*, gorair negyddol ydyw, medd Caerfallwch ; ond pe buasai rhyw un yn gofyn i mi pa ran o ymadrodd ydyw, dywedasem mai arddodiad. Pa fodd, bynag am hyny, arferir *nâ* hefyd o flaen geiriau yn dechreu â chydsain ; megys, Mwy *nâ* digon, llai *nâ* dim, gwell pwyll *nâ* chyfoeth. Mae yn ddigon hawdd peidio cymysgu *na* a *nâ*, ond bod ychydig yn ystyriol a gwyliadwrus. Diffyg gofal ac ystyriaeth sydd yn achosi camsyniadau o'r fath hyn fynychaf.

*Nac* a *nag*.—Mae y ddau air hyn yn dwyn yr un berthynas â *na* a *nâ*, ag y mae *a* ac *ac* yn ddwyn ag *â* ac *ag;* hyny yw, defnyddir hwynt yn lle *na* a *nâ* pan fyddo cydseiniaid yn canlyn ;

megys, Nid oedd yno na llwdn nác asyn, *nac* edrych ar win, &c.; gwell doethineb *nag* aur, mwy *nag* unpeth arall. Mewn hen ysgrifeniadau, y mae *no* yn cael ei arfer am *nâ*, a *nog* a ddefnyddid yn lle *nag;* ond y mae hyn allan o ymarferiad yn awr, ac ni arferir ef gan neb ond y rhai a gymerant arnynt eu bod yn ddoethach nag eraill.

*Y gorair mor.*—Nid oes gair yn y Gymraeg a gam-arferir yn fwy mynych nâ'r gorair *mor*, a hyny gan ysgrifenwyr tra hyfedr a destlus mewn pethau eraill. Yn fynych iawn cyfarfyddir â *mor gynted*, *mor lleied*, *mor rhwydded*, &c., y rhai ydynt oll yn gyfeiliornus. Er mwyn i'r darllenydd ddeall y pwnc hwn, rhaid iddo wybod fod i eiriau neu enwau gweinion dair gradd gymharol, heblaw y gair yn ei sefyllfa neu gyflwr pendant. Gwahanol enwau a roddir i'r graddau hyn gan Ramadegwyr, ond heb fyned i benderfynu yn bresenol pa rai ydynt yr enwau mwyaf priodol, gallwn eu dynodi yn awr wrth yr enwau canlynol :—Y gair cysefin neu bendant, y radd gyfartal, y radd gymharol, a'r radd uwchaf ; megys, er engbraifft :—

| *Pendant.* | *Cyfartal.* | *Cymharol.* | *Uchelradd.* |
|---|---|---|---|
| Cadarn. | Cadarned. | Cadarnach. | Cadarnaf. |
| Hen. | Hened. | Henach. | Henaf. |
| Teg. | Teced. | Tecach. | Tecaf. |

Dyna y modd rheolaidd o gymharu y geiriau hyn yn eu gwahanol raddau ; ond yn dra mynych gwneir defnydd o'r gair *mor* yn y radd gyfartal, yr hyn a wasanaetha yr un dyben. Pan ddefnyddir y gair *mor*, yr ydys yn fynych yn gwneyd defnydd o'r terfyniad *ed* hefyd, yr hyn sydd yn drosedd ar reolau yr Iaith, gan fod y naill neu y llall yn ddigon. Felly, pan fyddo *mor* yn cael ei ddefnyddio i ddynodi y radd gyfartal, rhaid gosod yr enw gwan a'i canlyna yn ei gyflwr pendant neu gysefin, a pheidio defnyddio y terfyniad *ed* gydag ef, gan fod gosod dau arwydd o gyfartalwch yn feius. Dylid eu defnyddio fel hyn : *Pell*, *mor bell*, neu *pelled ; drwg*, *mor ddrwg*, neu *dryced ; cadarn*, *mor gadarn*, neu *cadarned ; hen*, *mor hen*, neu *hened*, &c. Os oes rhaid i'r ysgrifenydd gael defnyddio rhyw air gyda'r radd gyfartal reolaidd, y mae geiriau eraill wrth ei law, y rhai a wasanaethant ei ddyben ; megys, *can* a *cyn* ;—er enghraifft, *Can deced*, *can gynted*, *can dirioned ; cyn belled*, *cyn ddryced*, *cyn dwymed ;* ond y mae defnyddio *mor* yn y lleoedd hyn yn cael ei gyfrif yn afreolaidd, ac afreidiol gyda'r terfyniad *ed*.

Yr ydym yn crybwyll y peth hwn, o herwydd fod ysgrifenwyr ieuainc mor dueddol i syrthio i'r cyfeiliornad; ond canfydda y darllenydd mai pwnc ydyw ag sydd yn perthyn i Ramadeg yn hytrach nag i Lythyreniaeth.

Nid oes un angen i osod *o* fer yn *mor*, fel hyn, môr, i'w wahaniaethu oddiwrth môr, *sea*, gan fod yr *o* hir yn yr olaf yn ddigon. Hefyd, os sylwa yr efrydydd, canfydda fod mor yn tarddu o *my-or*, a môr o *mo-or;* ac felly yr olaf sydd i'w nodi â sain hir, yn ol yr egwyddor a osodir i lawr wrth egluro y llafariaid.

*Mae* a *mai.*—Nid yw ysgrifenwyr yn gyffredin yn cymeryd y gofal a ddylent i wahaniaethu rhwng y ddau air hyn, er fod gwahaniaeth dirfawr yn eu hystyr, fel y mae yn eu llythyreniaeth.

*Mae* sydd berwyddiad, yn sefyll am *be, is, are,* yn Saesneg; megys, *Mae* y dyn yn ddrwg, the man *is* wicked; *mae* y dref yn eang, the town *is* extensive, &c. Dyweda y Dr. Pughe fod *mae* yn orair hefyd, yn sefyll am there be, there is, it is, he is, she is. *Pa le mae?* where *is?* *Mae dyn yma*, there *is* a man here, &c. Ond ymddengys i ni mai perwyddiad, mewn gwirionedd, yw y *mae* yna hefyd, canys cyfateb i *is* y mae y *mae* yn y lleoedd yna, yn gystal â'r rhai blaenorol, er y dichon fod y brawddegau mewn dull goreiriol. Arferir *mae* weithiau mewn gofyniad, tra y mae *pa le* i'w ddeall o'i flaen; megys, *Mae* Abel dy frawd? *Where is* Abel thy brother? Fe allai fod hyny yn ddigon o eglurhad ar *mae.*—Am y gair *mai*, cysylltiad ydyw, o'r rhyw ag sydd yn uno achosion ac effeithiau â'u gilydd. Y geiriau sydd yn cyfateb iddo yn Saesneg ydynt *that, that it.* Mae hi yn haeru *mai* dall ydwyf, she is asserting that I am blind; am *mai*, because that. Mae hyna yn ddigon i ddangos natur a defnydd y gair *mai;* ac y mae yr eglurhad a roddasom yn ddigon i brofi hefyd na ellir cymysgu *mae* a *mai* â'u gilydd, a'u llythyrenu yn ddiwahaniaeth. Er mwyn i'r efrydydd gael bod yn fwy sicr ei fod yn eu defnyddio yn gywir, gwybydded fod *mae* yn cymeryd *y* o'i flaen bob amser, ond pan y mae gofyniad yn cael ei osod, a chymer *y* yno hefyd os llenwir y frawddeg, megys y crybwyllasom yn flaenorol, ond gellir ei ddefnyddio heb *y* yn mhob lle; megys, *Pa le y mae?* neu, *Pa le mae?* *Y mae y wraig yn dda;* neu, *mae y wraig yn dda.* Dichon yr efrydydd adnabod *mae* trwy ei fod yn cymeryd *y* o'i flaen, os na ddichon gyfieithu y frawddeg i'r Saesnaeg.—Am y gair *mai*, nid oes un ffordd i'r efrydydd ieuanc ei adnabod yn well nâ thrwy osod y gair *taw* yn ei le, ac os gwna y frawddeg synwyr felly, *mai* yw y gair sydd i gael ei ddefnyddio;

megys, Clywais *taw* (*mai*) efe oedd y dyn; cefais *mai* (*taw*) anwiredd oedd hyny, &c. Canfyddir oddiwrth yr enghreifftiau yna, fod *mai* a *taw* yn gyfystyr, ac y gellir defnyddio y naill yn lle y llall. Mewn ymddyddanion cyffredin, *taw* sydd yn cael ei arfer fynychaf yn y Deheubarth; ac y mae rhai ysgrifenwyr medrus yn ei arfer hefyd. Tebyg y gwasanaetha hyna ar y pen hwn, er cyfarwyddyd i'r efrydydd ieuanc.

*Minau* a *ninau*.—Mae rhai ysgrifenwyr, ac yn eu plith y Dr. Pughe, yn gosod dwy *n* yn y geiriau hyn, ac yn eu llythyrenu *minnau*, a *ninnau*; ond ni wyddom ar ba sail yr ydys yn gwneuthur felly, gan fod y geiriau yn deilliaw o *mi a tau*, a *ni a tau*; a'r *t* yn *tau* yn cael ei throi i'w sain afreolaidd *n*. Sicr yw, yn ol eu tarddiad, mai un *n* a ddylai fod ynddynt; ac ni wyddom am un reol a ofyna eu llythyrenu â dwy. Barned yr efrydydd drosto ei hun.

*Munud*, *mynud*, a *mynyd*.—Y geiriau hyn, er fod eu hystyrion yn dra gwahanol, ydynt yn cael eu cymysgu yn fynych â'u gilydd. *Munud* yw, a gesture, a nod, or beck; *mynud* yw, courteous, social, fond; a *mynyd* yw, a small part or particle, a minute. Felly, canfydda yr efrydydd na wna y tro i osod y naill yn lle y llall. Gallasem egluro eu natur yn mhellach, trwy roddi eu gwreiddiau; ond meddwl yr ydym fod yr awgrym yna yn ddigon i'r efrydydd ystyriol.

*Mynu* a *Myny*.—Mae y ddau air hyn yn cael eu cymysgu yn lled aml, ac yn fynych iawn gwelir *myny* yn cael ei lythyrenu yn *mynu*. *Mynu* sydd berwyddiad, oddiwrth *myn*, ac *u* y terfyniad perwyddiadol; a'i ystyr yw, "to exercise the will, to obtain sway, to obtain, to have, to seek, to procure, to insist, to will." Mae y dyn yn *mynu* digon am ei waith, the man will have enough for his work. A *fyni* di beth? *Mynaf*.—*Mynu* sydd enw cadarn, ond gyda'r arddodiad *i* y mae yn ffurfio goreiriau; megis *i fyny*, upwards, *dos i fyny*, go up. Mae *myny* yn tarddu o *mwn*, a'i ystyr yw, that rises or ascends. Mae ystyr a llythyreniad y gair hwn i'w canfod yn *mynydd*, a mountain, yr hwn sydd o'r un tarddiad; ac mewn siarad cyffredin, y mae *i fynydd* yn cael ei arfer yn lle *i fyny*, er nad yw hyny yn gywir; megis Awn i *fynydd*, we will go up; dos *fynydd*, go up, &c. Terfyner yr olaf yn wastad ag *y*, a gadawer yr *u* yn derfyniad i'r perwyddiad.

*Nwydd* a *nwyf*.—Mae y ddau air hyn yn cael eu cymysgu yn fynych â'u gilydd; ond ni ddylai hyny fod. *Nwydd* yw stuff, substance, o'r materials; commodity, effects. wealth, riches; wares.

*Mae nwyddau da genyt*, you have good articles or wares.—*Nwyf* yw animal spirits, liveliness, or vivacity, energy, temper. *Mae y ferch yn nwyfus iawn*, the girl is very sprightly. Canfyddir, oddiwrth y darnodiadau yna nas gellir defnyddio y naill yn lle y llall ; a dylai yr efrydydd fod yn wyliadwrus yn eu cylch.

*Sy* a *sydd*.—Mae gwahanol farnau mewn perthynas i ddefnyddiad y ddau air hyn. Rhoddwn yn gyntaf syniadau rhai beirniaid dysgedig mewn perthynas i *sy* a *sydd*. Dyweda Tegid, " Mewn perthynas i *sy* a *sydd*, yr un reol a berthyna iddynt ag i *esti* [*sy*] ac *estin* [*sydd*] yn y Roeg ; ac o herwydd hyny, ysgrifener *sy* o flaen cydseiniaid, megis " Pwy *sy* draw ?" ond *sydd* o flaen llafariaid, megis " Pwy sydd acw ?" ac hefyd *sydd* o flaen gwahannod, megis " Y *sydd*, y fydd, ac a fu." Dyweda Caerfallwch, " *Sy* a ddefnyddir o flaen cydseiniaid, a *sydd* o flaen llafariaid, ac ar ddiwedd brawddeg ;" megys "*Hyn sy* dda ; pwy *sy* glaf ? hyn *sydd* oreu ; pwy *sydd* acw ? pa elw *sydd* ? er y *sydd*."

*Yntau* ac *ynte*.—Dyma ddau air hollol wahanol yn eu hystyr a'u llythyreniaeth, ag sydd yn fynych iawn yn cael eu cymysgu a'u gilydd, fel pe na fyddai un gwahaniaeth rhyngddynt. Rhai ysgrifenwyr a osodant *yntau* lle y dylai *ynte* fod, ac yn y gwrthwyneb, fel pe byddai y naill yn gwasanaethu yn lle y llall, a'u bod yn hollol gyfystyr ; ond ychydig o ystyriaeth a gofal a rwystrent y camsyniad hwn i gael ei wneyd. Sylwed yr efrydydd, mai rhagenw yw *yntau* bob amser, yn deilliaw o *wn-tau*, medd y Dr. Pughe, a'i ystyr yw *him also, him too, he also, him neither, the other.* " Cas ni chreto neb, na neb *yntau*." Am y gair *ynte*, gorair ydyw, yn deilliaw o *ynt-e*, a'i ystyr yw *else, then. Ai ynte*, or otherwise. " A fyni di ffoi dri mis o flaen dy elynion, a hwy yn dy erlid ? ai *ynte* bod haint yn y wlad dri diwrnod ?"

Oddiwrth yr eglurhad yna, canfydda y darllenydd fod gwhaniaeth hanfodol rhwng *yntau* ac *ynte*, ac nas gellir defnyddio y naill yn lle y llall, er fod hyny yn cael ei wneuthur yn aml gan ysgrifenwyr medrus. Nid oes dim yn well i efrydydd ieuanc, na bod yn fanwl a gochelgar wrth ddechreu cyfansoddi ; arbeda hyny lawer o drafferth iddo, os myn ddyfod yn gampus yn y gorchwyl.

Yr *ff* a'r *ph*.—Yn y blynyddoedd diweddaf, y mae y llythyrenau *ff* a'r *ph* yn cael eu cymysgu a'u cam-osod yn aml gan ysgrifenwyr ; a rhaid i ni osod y bai hwn, i ryw raddau, os nid yn gyfan-gwbl, ar ysgwyddau y Dr. Pughe, yr hwn a wnaeth gynyg i hebgor amryw o'r llythyrenau dyblyg, trwy osod *v* yn lle *f*, ac *f* yn lle *ff* a *ph* ;

ond trwy hyny efe a gymysgodd yr *ff* a'r *ph* â'u gilydd, ac a ddygodd annrhefn i'r Llythyreniaeth, er fod ei gynyg ynddo ei hun yn ganmoladwy. Yn yr ail argraffiad o'i Eiriadur, y mae yr *ff* a'r *ph* wedi cymeryd eu lleoedd priodol yn y rhan fwyaf o eiriau, ond y maent heb eu newid mewn geiriau eraill, yr hyn sydd wedi gwneyd y drwg yn waeth fyth. Bydded yr efrydydd yn ofalus i ddefnyddio *ff* yn y geiriau lle y mae y llythyren hono yn wreiddiol, megis *ph* yn ei gyfansoddiad, yr olaf a ddylai gael ei ddefnyddio, megis *proffes, cyffes, &c.*, neu yn adlawiad o *f*, megis *caffael*, oddiwrth *caf, &c.*; ond yn mhob gair lle y mae *p* yn troi i *gorphen*, oddiwrth *gor* a *pen*; *gorphwys*, oddiwrth *gor* a *pwys*; *prophwyd*, oddiwrth *pro* a *pwyd, &c.* Ymddengys i ni mai *ff* ddylai fod yn *sarff, corff*, ac *argraffu*, oddiwrth *sarf, corf*, ac *argrafu*, to *engrave*, yr hyn oedd y ddyfais gyntaf; er fod rhai yn eu tarddu o ieithoedd estronol, ac yn eu llythyrenu â *ph*.

Y terfyniadau *oedd* ac *odd*.—Yr ydym yn fynych yn gweled y terfyniadau *oedd* ac *odd* yn cael eu cymysgu a'u cam-gyfleu; yr hyn sydd yn hawdd i'w ochelyd, ond deall natur a dyben y ddau derfyniad. *Oedd* sydd derfyniad a arferir yn awr i ddynodi y rhif luosog o nifer mawr o enwau cedyrn, megis *nefoedd, lluoedd, brenhinoedd, gwyntoedd, pobloedd, &c.*; ond *odd* sydd derfyniad a ddefnyddir mewn perwyddiaid gweithredol, yn y trydydd person o'r rhif unigol o'r amser gorphenol, megis adeilad*odd*, gorphen*odd*, cenedl*odd*, car*odd*, *&c.* Mae achos i feddwl mai *odd* a ddynodai y rhif luosog o enwau cedyrn yn yr amser gynt; ac mai *awdd*, neu *oedd*, oedd terfyniad y perwyddiaid; a gwnaed amryw gynygion i adsefydlu yr arferiad hwnw yn ddiweddar; eithr methasant, ac y mae pawb yn awr yn dilyn yr arferiad poblogaidd, sef gosod *oedd* yn derfyniad i enwau cedyrn, ac *odd* i berwyddiaid. Amryw berwyddiaid ydynt yn cadw y terfyniad *oedd* yn barhaus, ac y mae hyn yn ein tueddu yn fwy i gredu fod hyny yn gyffredin ryw amser; canfyddir hyn yn y geiriau *oedd, ydoedd, buoedd, dothoedd, hanoedd, &c.* "O'r hwn yr *hanoedd* Crist;" "Dywedodd y wraig *bioedd*;" ydynt ymadroddion Ysgrythyrol, y rhai nid ydynt wedi eu cyfnewid i *odd*. Y mae yn awr yn rhy ddiweddar i geisio eu cyfnewid, gan hyny y mae yn well i'r efrydydd ddilyn yr arferiad cyffredin, a therfynu yr enwau cedyrn yn *oedd* a'r perwyddiaid yn *odd*. Buasem yn llefaru rhagor am y terfyniadau perwyddiadol, oni bai fod y pwnc yn perthyn yn fwy agos i Ramadeg nag i Lythyreniaeth; ond y mae hyn yna yn ddigon i gadw yr efrydydd ieuanc rhag cyfeiliorni.

Y terfyniad *yd.*—Mae y terfyniad hwn yn gyfystyr ag *id* mewn llawer o eiriau; ond yr hyn a wnaeth i ni sylwi arno yn awr, yw yr arferiad sydd gan lawer i derfynu y gair *gwneyd* ag *ud*, sef *gwneud*, gan dybied ei fod yn deilliaw o *gwneuthur*. Ond y mae *gwneyd*, medd y Dr. Pughe, yn deilliaw o *gwna*, ac nid o *gwneuthur*. *Gwneddyd*, *gwnelyd*, *gweyd*, *gwedyd*, a *dywedyd*, ydynt hefyd yn profi priodoldeb y terfyniad *yd*. Nid yw y peth hwn o nemawr bwys, ond y mae yn well cael unffurfiaeth yn y peth lleiaf yn gystal â'r un mwyaf. Sylwer hefyd fod *gwneuthur* yn deilliaw o *gwnaeth*, fel y mae *gwneuthyd*: ond *yd* yw y terfyniad yn yr olaf wedi y cwbl. Nid oes ond ychydig iawn o eiriau yn terfynu yn *ud*, ac nid yw *gwneyd* yn un o honynt. Ni ddywed y Dr. Pughe fod *ud* yn derfyniad perwyddiadol mewn un modd.

*Oedd* ac *ydoedd*, *yw* ac *ydyw*.—Ymddengys i ni fod y geiriau *ydoedd* ac *ydyw* yn cael eu defnyddio gan ysgrifenwyr yn llawer rhy fynych yn lle *oedd* ac *yw*; yn enwedig wrth osod gofyniadau, a'u hateb. Mae yn wir, nad yw y gramadegwyr goreu yn gwneyd un gwahaniaeth rhyngddynt, ond meddyliwn fod lleoedd priodol i bob un o honynt. Arferir *oedd* ac *yw* wrth osod gofyniad, ac *ydoedd* ac *ydyw* wrth eu hateb; megis, A *oedd* y dyn yno? Y*doedd*. A *yw* y peth yn wir? Y*dyw*. Dywedir yn fynych, Yr *ydoedd* ef yno, pan y dylai fod, Yr *oedd* ef yno; a dywedir, Dyn da *ydyw* efe, yn lle, *yw* efe. Nid yw yn debyg fod y peth hwn yn cael ei ystyried o bwys mawr, onite buasem yn cael cyfarwyddiadau yn nghylch yr iawn-ddefnyddiad o'r geiriau yma, yn nghydag eraill a ddygant berthynas â hwynt, megis *ydym*, ac *ydynt*, *&c.* Yr ydym yn eu gadael yn hyderus yn llaw yr efrydydd, gyda dymuno arno wneyd defnydd o'i synwyr da a'i chwaeth ei hun yn y cyflead priodol o honynt, os barna fod y pwnc yn teilyngu ei sylw. Pa fodd bynag, mae yn deilwng o sylw, fod rhai gramadegwyr wedi bod mor orfanwl ag ymdrechu gwahaniaethu rhwng *sy* a *sydd*, ond ni awgrymant fod un gwahaniaeth rhwng y geiriau a grybwyllwyd yn flaenorol.

Y gorair *Fe.*—Mae amryw farnau yn mhlith Gramadegwyr mewn perthynas i'r gair *fe*. Rhai a fynant mai gorair ydyw, ac eraill mai rhagenw; ond dyweda y Dr. Pughe ei fod yn gwasanaethu fel gorchwylydd yn y trydydd person o berwyddiaid; ei fod yn rhagenw, yn cyfateb i *he*, *him*; a'i fod hefyd yn arwydd goreiriol o orchwylyddiaeth gweithred. Gan nad beth am y priodoldeb o'i ddefnyddio fel rhagenw, y mae yn sicr mai gorair ydyw yn yr

engreifftiau a rodda y Dr. Pughe, sef, *Fe* fu yno rai dynion,—*fe* gofia lais y truan,—*fe* wnaeth y clefyd ddifrod; canys nid yw yn hebgor y sylwedd-air neu y rhagenw yn un o'r lleoedd yna.

Defnyddiad priodol *u* ac *y*.—Y cyfarwyddiadau goreu a welsom ar y pen hwn, yw y rhai sydd yn Ngramadeg Mr. W. Spurrell, Caerfyrddin; ac hyderwn na anfoddlona yr awdwr wrthym am eu cyflëu yma:—"*U* ac *y* ydynt yn achos o ddyryswch; a dichon y bydd yr awgrymiadau canlynol o wasanaeth. *U* a arferir mewn terfyniadau sylwedd-eiriau yn y rhif luosog; megis *llyfrau*, *geiriau*, *&c.*; yn nherfyniadau rhagenwau, *minau*, *tithau*, *yntau*, *hithau*, *ninau*, *chwithau*; ac yn nherfyniad y perwyddiaid yn y modd annherfynol, (fel y crybwyllasom mewn perthynas i ddefnyddiad *u* ac *i*.) *U*, ac nid *y* sydd yn canlyn *e*, oddieithr *teyrn*, a'r geiriau deilliedig oddiwrtho; *dweyd*, *gwneyd*, *&c.* *Y* sydd yn dygwydd ar ol *w*, megis *wyf*, *swydd*, *llwyd*, *&c.*; *gwull* (*flowerets*) sydd yn eithriad. *Y* ac nid *u*, sy gyfnewidiad o *a* ac *o*, ac yn gyffredin o *e*; megis *bach*, *bychan*; *porth*, *pyrth*; *Cymro*, *Cymry*; *bachgen*, *bechgyn*; eithr *maes*, a droa yn *meusydd*, (cystal yw *maesydd*.) *Y* ac nid *u*, a arferir yn derfyniadau bychanigol, megis *bwthyn*, *&c.* Mae sain yr *y* yn gyfnewidiol, ond nid yw sain yr *u* felly; a thrwy hyny, gellir adnabod lle y flaenaf trwy gyfnewidiad y sain, pan y mae terfyniad yn cael ei ychwanegu, megis *bys*, *bysedd*; *dysg*, *dysgu*; *bydd*, *byddaf*; eithr cadwa yr *u* ei sain, megis *hun*, *hunan*; *tu*, *tuedd*; *bu*, *buom*. *Y*, pan ganlynir hi gan *w*, nid yw yn cyfnewid ei sain bob amser, megis *rhyw*, *rhywun*; *mwy*, *mwyaf*; *gwyw*, *gwywo*; *gwyn*, *gwynfyd*; *byw*, *bywiog*; ond yn y gair *bywyd*, nid yw sain yr *y* gyntaf yr un â sain yr *y* yn *byw*." Gosoded yr efrydydd ei synwyr ar waith, a daw i ddeall y gwahaniaeth rhwng *u* ac *y* yn fuan iawn.

*I* ac *u*.—Defnyddir *i* yn derfyniad perwyddiaid pan fyddo *o* yn y sill nesaf i'r olaf; megis cynghori, arfogi, &c.; a phan fyddo y llafariad *w* nesaf o'i blaen; megis tew*i*, llenw*i*, *&c.*; yn mhob perwyddiad arall yr *u* a ddefnyddir.

## GOHEBIAETH LYTHYRAWL.

**Y** mae yr hyfrydwch a'r defnyddioldeb o ohebiaethu trwy lythyrau yn rhy hysbys i ofyn canmoliaeth: y peth nesaf at bresenoldeb cyfaill yw ei ohebiaeth lythyrawl.

Pe buasai llythyrenau wedi cael eu dyfeisio yn moreuddydd amser, y mae yn debygol y buasai gohebiaethu trwy lythyrau yn gydoesawl a chariad,a chariad a chyfeillgarwch, oblegid mor gynted ag y dechreuwyd eu defnyddio fel cyfrwng cyfeillachiad a phelledigion, rhoddwyd y negesydd geneuawl o'r neilltu; iaith y galon a roddwyd mewn priodluniau a'i nhodai yn ffyddlawn; dirgelwch a fwynheid, a chyweithas a ddaeth yn fwy rhydd a hyfryd. Yr oedd y gelfyddyd o ohebiaeth lythyrawl yn cael ei rhesu gan y Rhufeiniaid yn mhlith y celfyddydau moesgar a boneddigaidd; a sonia Cicero gyda boddineb mawr am rai llythyrau campus a dderbyniodd oddiwrth ei fab. Yn wir ymddengys fod ysgrifenu llythyrau yn gwneyd i fyny ran o ddysgeidiaeth y Rhufeiniaid; ac y mae yn haeddu cael rhan yn yr eiddom ninau. "Y mae gan ysgrifenu llythyrau," medd Mr. Locke, "gymaint i wneuthur a holl drafodiaethau y bywyd dynol, fel na ddichon i un boneddig lai na dangos ei hun ynddo. Amgylchiadau a berai iddo yn ddyddiol i wneyd y defnydd hwn o'i ysgrifell."

Er mwyn i blant a phobl ieuainc ddysgu y gelfyddyd o ysgrifenu llythyrau, dylent gael eu cymhell yn fynych i ysgrifenu llythyrau at eu perthynasau a'u cyfeillion absenol, ar y cyfryw achosion a ddygwyddant yn naturiol mewn bywyd teuluawl, neu ar destunau a ddewisir ganddynt eu hunain, a fyddont yn gydweddawl a'u chwaeth a'u cyrhaeddiadau. Dylai pob bai mewn sillebu neu atalnodi, mewn iaith neu ddrychfeddwl, gael ei nodi allan, a'i egluro yn gyflawn iddynt, naill ai gan eu hathrawydd, neu gan rhyw gyfaill arall, cyn anfon ymaith y llythyrau; neu wedi hyny, gan y person at ba un yr anfonwyd hwynt.

O herwydd amrywder yr achosion ar ba rai yr ysgrifenir llythyrau, rhy anhawdd yw gosod i lawr reolau pendant idd eu dilyn, ond ystyrir y rhai canlynol yn deilwng o sylw yr efrydydd ieuanc:—

1. Pan yn ysgrifenu llythyr at unrhyw berson, arferwch yr un drychfeddyliau, a'r un geiriau, a pho byddoch yn ymddyddan ag ef. "Ysgrifenwch yn hyawdl," medd Mr. Gray, "hyny yw, o'ch calon, yn y cyfryw ymadroddion a

ddysgo hono." Y mae y reol hon o'r pwys mwyaf, er cyrhaedd rhwyddineb a symlrwydd yn ein cyfansoddiadau llythrawl.

2. Cyn ysgrifenu llythyr, yn neillduol pan fyddo ar achos pwysig, ystyriwch yn ddifrifol ei amcan a'i ddyben: a phwyswch yn eich meddwl pa dybiau ac ymadroddion sydd fwyaf priodol i chwi idd eu hysgrifenu, a'ch gohebydd idd eu darllen. Y mae ymlyniad wrth y reol hon o bwys arbenig i'r rhai nad ydynt yn feddianol ond ar ychydig o ddrychfeddyliau, am ei bod yn rhoddi cyfleusdra i ychwanegu atynt; ac i'r rhai ydynt orlawn o honynt, neu mewn petrusder o herwydd eu hamldra a'u hamrywiaeth, rhydd gyfleusdra i ddewis.

3. Bydded idd eich holl ddrychfeddyliau, a'ch holl ymadroddion, fod yn unol a gwirionedd a rhinwedd. Ymgedwch rhag gwneuthur defnydd o broffesiadau gorfawr a chwyddffol o barch; llethwch bob meddwl aughyfiawn a maleisus; cefnogwch bob serchiadau caruaidd yn eich meddwl eich hun, ac yn meddyliau y rhai a gyferchwch. Y mae y reol hon o bwys mewn ymddyddan, pa faint mwy mewn llythyrau? oblegid y mae ysgrifen yn rhoddi cyfleusdra i ystyried, yr hyn a wna gyfeiliornad o bob math yn llai esgusodol. "Yr wyf yn eich tynghedu," medd esgob Atterbury, mewn llythyr at ei fab, "na ddywedoch ddim mewn llythyr, nac mewn ymddyddan, ond yr hyn ydych yn ei feddwl ac yn ei gredu; ond bydded i'ch meddwl a'ch geiriau bob amser gydfyned a'u gilydd, hyd yn oed ar yr amgylchiadau mwyaf ysgafn a dibwys."

4. Amrywiwch eich dullymadrodd, a chymhwyswch ef at destun eich llythyr, ac hefyd at gymeriad, sefyllfa, ac amgylchiad y person at yr hwn yr ysgrifenwch. Ar destunau ac amgylchiadau gorbwysig, dylai fod eich iaith a'ch dullwedd yn gryf a phwysig; ar achosion llai eu pwys, yn rhwydd a syml; mewn cynghori, yn ddifrifol a phrysur; mewn argyhoeddi, yn dirion; mewn dyddanu, yn deimladwy; mewn cydlawenychu, yn fywiog; mewn deisyfu, yn wylaidd; mewn canmawl, yn wresog; tuag at uchafiaid,

yn barchus; tuag at isafiaid, yn addfwyn; tuag at gyfeillion a chymdeithion, yn garuaidd.

5. Ymlynwch yn ddiwyrni wrth reolau gramadegol. Dewiswch a gosodwch eich holl eiriau yn eu priodol leoedd, yn unol a'u harwyddocad; a phan fyddoch mewn petrusder yn nghylch eu priodol ystyr, edrychwch i eiriadur, neu ymgynghorwch a rhyw berson hyddysg mewn geiryddiaeth. Ymgedwch, gyda gofal neillduol, rhag gwallau mewn llythyreniad, atalnodiad, a threfniad geiriau a a'u hystyrion.

6. Ymdrechwch, yn neillduol mewn llythyrau masnachol, i osod allan eich meddwl mewn modd byr, ac yn y geiriau lleiaf darostyngedig i gael eu camddeall. Ymgedwch rhag adeiriad, eglurhad, a chromfachau hirion ac aml. Gosodwch y pethau mwyaf pwysig yn y goleuni egluraf, ac na wnewch ond yn unig enwi y pethau llai eu pwys. Na wnewch ddyfyniadau mewn iaith estronol, pa mor bwrpasol neu ragorol bynag y byddont, oddieithr, pan yn ysgrifenu at bersonau y gwyddoch eu bod yn eu deall ac yn eu gwerthfawrogi; ac na wnewch ymarferiad o eiriau ansathredig ac amheus eu hystyr. Bydded i chwi bob amser, cyn selio eich llythyr, ei ddarllen drosodd yn ofalus; a gwellhewch bob gwall a weloch ynddo, a ddichon yn y gradd lleiaf betruso neu gamarwain yr hwn y byddwch yn anfon ato. Dull eglur a byr yw y goreu mewn trafodiaethau masnachol. Gall llythyrau cyfrinachol fod yn fwy helaeth. Brawddegau byrion, neu rai o hyd canolig, a darawant y meddwl rymusaf; ac y maent yn hawddach eu cofio.

7. Bydded i olwg allanol eich llythyr, yn gystal a'i gymhwysderau mewnol, fod yn wrthddrych eich gofal. Ysgrifenwch law deg ac amlwg. Na wnewch fyriadau mewn geiriau, ond yn unig yn y rhai hyny y mae arferiad cyffredinol yr awdwyr goreu yn eu caniatau. Gadewch le gwag bob amser i'r sel, neu'r lethen, fel, pan agorer eich llythyr, na fyddo dim o'r ysgrifen i gael ei rhwygo. Am y prioddoldeb o adael lle gwag i'r sel, y mae yr engreifftiau canlynol, yn gystal a llawer o rai eraill, yn brofion digonol. "Derbyniais lythyr yn ddiweddar oddiwrth gyfaill," medd

Mr. Orton, mewn llythyr at offeiriad ieuanc, "yn dymuno arnaf i gyflawni rhyw fasnach erddo a throsto, yr hyn ydoedd prif ddyben ei lythyr; ond yn anffodus yr oedd wedi gosod y lethen ar y rhan bwysicaf o'i ddymuniad, fel nas gallaswn wneyd allan pa beth oedd ei gais." Derbyniodd ysgrifenydd y llinellau hyn lythyr yn ddiweddar oddiwrth berthynas, yn yr hwn y dywedai ei bod wedi symud o'i thrigfa gyntefig, ac enwai y lle yr oedd wedi symud iddo, a dymunai atebiad buan, ond o herwydd fod y sel ar enw y lle, nid galluadwy oedd iddo gyfeirio llythyr mewn atebiad ati, er mor ddymunol fuasai ganddo wneuthur hyny. Ysgrifenwch eich enw yn llawn, gydag eglurder ac unffurfiad neillduol, ac ychydig yn frasach na'r rhan arall o'ch llythyr. Ymgedwch rhag olysgrifau, oddigerth pan y byddont yn angenrheidiol er nodi rhyw amgylchiad a gymerodd le ar ol i chwi ysgrifenu eich llythyr. Plygwch, cyfeiriwch, a seliwch eich llythyr yn ddestlus. Gosodwch y tal-docyn ar y cornel uchaf, ar y llaw ddeheu, o'ch llythyr. Gwlychwch ochr chwith y tocyn a'ch tafod, os na fydd genych ddim arall yn fwy cyfleus, yna gwasgwch ef ar eich llythyr a'ch llaw.

## CYFNEWIDIAD Y LLAFARIAID.

Yn ffurfiad geiriau yn yr iaith Gymraeg, y mae cyfnewidiad llythyrenau yn cymeryd lle; a'r llafariaid a gyfnewidiant fel hyn :—

*A* a gyfnewidia i *ai*, *e*, *ei*, a *y*; megis br*a*n, br*ai*n; c*a*reg, c*e*rig; c*a*nu, c*e*nais; *a*tal, *e*tyl; i*a*r, i*ei*r; *a*rth, *ei*rth; al*a*rch, el*y*rch; at*a*l, et*y*l; ffoll*a*ch, ffell*y*ch.

*E* a gyfnewidia i *i*, *u*, *y*, ac, medd rhai, i *ei*; megis cas*e*g, c*e*sig; gwn*a*eth, gwn*eu*thym; m*a*en, m*ei*ni; h*e*n, h*ŷ*n; ll*e*m, ll*y*mion; n*e*rth, n*ei*rth.

*O* a gyfnewidiau i *a*, *e*, *w*, a *y*; megis tr*o*ed, tr*a*ed; ff*o*llach, ff*e*llych; cr*o*en, cr*w*yn; ff*o*n, ff*y*n; g*o*rdd, g*y*rdd; c*o*rff, c*y*rff.

*W* a gyfnewidia i *ei*, *o*, *y*, ac *wy*; megis d*w*fr, d*ei*fr; tr*w*m, tr*o*m; p*w*n, p*y*nau; d*w*fr, d*y*froedd; g*w*r, gw*y*r. Beius yw ysgrifenu *a chwedi; ac wedi* sydd briodol; a chofiwch nad yw *w* yn cyfnewid un amser i *u*.

*Y* a gyfnewidia i *e* ac *ai*; megis t*y*n, t*e*n; t*y*, t*ai*. I *y*, ac nid i *u*, neu *i*, y mae *a*, *e*, ac *o*, bob amser yn cyfnewid. Dealler hefyd mai *u* ddylai derfynu y gair Cymru, pan yn sefyll am y *wlad*, ac *y* ddylai ei derfynu pan y meddylir y *trigolion*; fel hyn:—Gorchestion y Cymry (y trigolion); Mynyddoedd Cymru (y wlad).

## CYFNEWIDIAD Y CYDSEINIAID.

*B* a gyfnewidia i *f* ac *m*; fel hyn:—*b*ywyd, ei *f*ywyd, dy *f*ywyd, fy *m*ywyd.

*C* a gyfnewidia i *g*, *ngh*, ac *ch*; megis *c*yfaill, ei *g*yfaill, fy *ngh*yfaill, ei *ch*yfaill.

*D* a gyfnewidia i *dd* ac *n*; megis *d*uw, ei *dd*uw, fy *n*uw. Y mae cyfnewidiad afreolaidd hefyd i *d*; megis dio*d*, dio*t*a. Sylwer, nid yw *d* yn cyfnewid i *th* ar ol *a* yn y cyfryw eiriau a'r rhai canlynol: dyma a dyna. Beius yw ysgrifenu a thyma, a thyna.

*G* a gyfnewidia i *ng*; megis *g*waith, fy *ng*waith. Hefyd, y mae i *g* gyfnewidiad afreolaidd; megis drw*g*, dry*c*ach.

*Ll* a gyfnewidia i *l*; megis *ll*aw, ei *l*aw; ond nid yw *ll* yn newid yn rheolaidd i *l* bob amser, a gellir rhoddi *ll* neu *l* mewn rhai geiriau yn ddiwahaniaeth.

*M* a gyfnewidia i *f*; megis *m*am dy *f*am, ei *f*am. Ymddengys hefyd y dylid, yn ol y rheol, osod *f* ar ol *i* mewn lleoedd fel hyn:—i *f*ewn, nid i *m*ewn; i *f*i, nid i *m*i; ond gan nad yw y sain yn cael ei niweidio yn y lleoedd uchod, arferir y ddau ddull yn ddiwahaniaeth.

*P* a gyfnewidia i *b*, *mh*, a *ph*; megys *p*en, ei *b*en, fy *mh*en, ei *ph*en.

*Rh* a gyfnewidia i *r*; megis *rh*an, ei *r*an.

*T* a gyfnewidia i *th*, *d*, ac *nh*; megis *t*ad, ei *th*ad, dy *d*ad, fy *nh*ad.

Nodwch,—Y mae amryw eiriau, heblaw ei, fy, dy, ac *a*, yn cyfnewid y cydseiniaid, ond ni thybiwyd yn angenrheidiol eu nodi yma; am hyny boed i'r efrydydd ddeall fod pob gair sydd yn dechreu gyda y cydseiniaid uchod yn newid yn yr un modd a'r rhai a osodwyd i lawr uchod er engreifftiau.

## YR ATALNODAU A'R CYFEIRNODAU.

Prif ddyben yr atalnodau yw, yn gyntaf, egluro a dyogelu ystyr ymadrodd, trwy uno y geiriau hyny ydynt unedig mewn synwyr, a

rhanu y rhai nid ydynt; ac, yn ail, er rhoddi cyfarwyddyd pa le i wneuthur y cyfryw orphwysiadau, dyrchafiadau, a gostyngiadau yn y llais, nid yn unig a uodant iawn feddwl yr ymadrodd, ond a rydd iddo amrywiaeth a theleidrwydd a'i darganmola i'r clyw; oblegid mewn darllen, yn gystal ag mewn celfyddydau eraill, ceir fod y defnyddiol a'r boddhaol agos bob amser yn gydfynedol; ac y mae pob gwir addurniant yn perffeithio y dyben cynhenid.

Y Rhagwahannod (,) yw y gorphwysiad byraf, a llywodraetha drefn y lleill oll. Dylid atal y llais wrtho tra rhifir *un.* Arferir ef i ranu ymadroddion, er eu bod yn unedig mewn synwyr a chystraweniad, ydynt yn gofyn gorphwysiad rhyngddynt; ac y mae iddo hefyd ddefnydd ymsangol. Engraifft fel hyn, "Wedi rhoddi heibio gan hyny bob drygioni, a phob twyll, a rhagrith, a chenfigen, a phob gogan air, fel rhai bychain newydd eni, chwenychwch ddidwyll laeth y gair, fel y cynyddoch trwyddo ef."

Gwahannod (;) a gyfleir rhwng y cyfryw ranau ymadrodd ag a fyddont yn llai cysylltiedig â'u gilydd na'r rhai a ddidolir â rhagwahannod; megis, "Tyn yn mhell oddi wrthyf wagedd a chelwydd; na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth; portha fi â'm digonedd o fara." Y mae yn gyffredin iawn yn cael ei arfer o flaen cysylltiad, fel hyn,—"Byddwch santaidd; canys santaidd ydwyf fi." Atelir y llais wrth y nod hwn tra rhifir *dau.*

Gorwahannod, neu ddrull-ymadrodd (:) a gyfleir ar ol ymadrodd cyflawn ystyr, er hyny a oddefa chwanegiad i'r dyben o wneuthur y synwyr yn fwy eglur, megis yn yr engraifft ganlynol:—"Na thwyllwch eich hunain â'r gobaith am berffaith ddedwyddwch: nid oes y fath beth yn y byd." Gorphwysir wrth y nod hwn tra rhifir *tri.*

Diweddnod (.) a ddodir ar ol ymadrodd cyflawn o synwyr; megis:" Perchwch bawb. Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y brenhin." Dylid gorphwys wrth hwn yn agos cyhyd ag y rhifir *pedwar.*

Gofynnod (?) a osodir ar ol ymadrodd yn cynwys holiad, megis "Pwy a'th wnaeth di? Onid i'r un lle yr â pawb?" Dylid aros ychydig yn hwy wrth y nod hwn nag wrth ddiweddnod.

Rhyfeddnod (!) a arferir i ddynodi unrhyw gyffroad disymwth o eiddo y meddwl; megis "Rhyfedd ac ofnadwy y'm gwnaed!" "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! Mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt! Y mae yr amser i orphwys wrth y nod hwn yn amrywio; ond yn gyffredin dylai fod ychydig yn hwy na'r amser yr atelir wrth y diweddnod.

Sillgoll (') sydd yn arwyddo fod llythyren neu sill wedi ei adael allan; megis *i'th* yn lle *i yth;* *i'n* yn lle *i ein;* *sy'n* yn lle *sydd yn.*

Cysylltnod (-) sy'n dangos cysylltiad dau air â'u gilydd; megis *priod-fab, priod-ferch, llaeth-lo, llaeth-fwyd, &c.* Arferir ef hefyd i ranu geiriau ar ddiwedd llinellau.

Dosparthnod (§) sydd yn nodi gwahanol ranau yr un traethawd ar yr un mater.

Gwahanrannod (¶) sydd yn nod o wahanol fater; ac arferir y nod hwn yn fynych yn yr Ysgrythyrau.

Ymsang () a Chromfachau [] a arferir i gau i mewn air neu ymadrodd a ellir ei adael allan heb niweidio y synwyr; megis, "Canys mi a wn nad oes ynof fi (hyny yw, yn fy nghnawd i) ddim da yn trigo." Dylid darllen yr ymadroddion rhwng yr ymsangau ychydig yn gyflymach, ac âg is llais na'r draith yn gyffredin.

Rhagwahandro, neu Brawfnodiad (" ") sy'n dangos nad ymadroddion yr awdwr ei hun ydyw y rhai a nodir felly, ond iddo eu dyfynodi air yn ngair o waith gwr arall.

Diffyglin (—) a arferir, 1. I arwyddo fod geiriau wedi eu gadael allan; 2. I ddangos fod llythyrenau wedi eu gadael allan o air; megis Ll——n, am Llundain.

Cyplysnod (⁀) a arferir i gyplysu geiriau neu linellau yn nghyd; megis,

Yn ein cerddi } golli synwyr.
Gwallus ini }

Gwallnod(‸) a arferir pan adawo yr ysgrifenydd lythyren, sill, neu air, allan o ymadrodd mewn camgymeriad; megis,

addysg,
"Ymafael mewn ac na oilwng hi."
‸

Y Seren (*) y Bidag (†) y Bêr (‡) a'r Rheol Ddwybig ‖ ydynt oll yn cyfeirio at ryw beth ar ymyl neu yn ngwaelod y ddalen.

Pan fyddo amryw ser yn nghyd (****) dangosant fod rhyw beth diffygiol yn yr ymadrodd, neu anaddas yn nghyfrif yr awdwr i'w crybwyll.

Mynegfys (☞) a gyfeiria at beth tra nodedig.

# RHEOLAU BARDDONIAETH GYMREIG.

Mae mesurau penodol Barddoniaeth Gymreig yn meddu ansoddau a nodweddau gwahaniaethol, priodol yn unig iddynt eu hunain. Dichon nad yw mesurau rhyddion y Cymry mal eu harferir yn bresenol yn amrywio nemawr oddiwrth eiddo cenhedloedd eraill y ddaiar; ond o barth eu mesurau caethion, mae yn ddiddadl nad oes unrhyw iaith a all ddangos adeiladaeth mor gywrain, neu wê mor orfanwl ag ydyw y Cynghaneddion Cymreig. Un hen awdwr galluog i roddi barn ar y cyfryw achos, a ddywedai

"Ni phrofais dan ffurfafen
Wê mor gaeth, a'r Gymraeg wen."

Nid barddoniaeth yn ystyr briodol yr ymadrodd ydyw y mesurau na'r cynghaneddion. Gall fod barddoniaeth uchelryw mewn ymadroddion heb eu dosbarthu i rif benodol o sillau, neu ei gyfleu mewn geiriau yn cynwys cyfnewidiad y llafariaid a chyfatebiad y cydseiniaid: eto mae y mesurau a'r cynghaneddion yn addurnwaith celfydd, ac ychwanegant yn fawr at degwch ac ysplander yr adeiladwaith.

Gan fod y Bryddest yn awr wedi dyfod i fwy o fri na chynt mewn cyfarfodydd cystadleuol a chynulliadau eisteddfodol, hwyrach y bydd yr awgrymiadau canlynol o ryw faint o gynorthwy i gyfansoddwyr ieuainc. Cofier mai i'r cyfryw yn unig y maent yn cael eu hamcanu. Goddefer i ni awgrymu mai y prif beth mewn barddoniaeth yw meddwl awchlym, darfelydd grymus, syniadau hedegog, a theimlad tynerfwyn. Nid oes unrhyw wêad campusfawr o eiriau ac ymadroddion diystyr yn alluog i wneyd i fyny y diffyg am yr elfenau a grybwyllasom. Byddai dda i gyfansoddwyr ieuainc dalu sylw neillduol i'r Gyhydedd, y Corfan, yr Acen, a'r Odl. Nis gellir cyfansoddi na phenill, na chân, na dyri, na phryddest yn rheolaidd a chelfydd heb dalu sylw i'r anhebgorion hyn. Wrth *Gyhydedd* y golygir *hyd* llinell neu fraich o farddoniaeth, ac mae o bwys i'r bardd ieuanc sylwi yn neillduol ar y gyhydedd rhag i'w linellau ymdebygu i esgeiriau y cloff, heb fod yn ogyhyd. Yr ydym yn cael fod ysgrifenwyr campusaf yr iaith yn annghydweled parth rhif y cyhydeddau yn gystal a pharth eu henwau, ond bydd i'r nodiadau hyn wasanaethu nes caffo y darllenydd hamdden a

chyfle i ymgynghori a'r awdurdodau hyny eu hunain. Dealler mai wrth *Gyhydedd* mewn barddoniaeth yr ydys yn golygu y "Rhif o sillau a rodder mewn ban neu fraich o benill er gwneuthur ei hyd; a hyn fydd o bedair sill i ddeuddeg o'r cysefin Gyhydeddau." Dywed Iolo Morganwg yn *Nghyfrinach y Beirdd*, mai naw cyhydedd y sydd, ac yn canlyn rhoddwn eu henwau. Y gyntaf yw y *Gyhydedd Fer*, yn bedeirsill. Yr ail yw y *Gyhydedd Gaeth*, yn bumsill. Y drydedd yw y *Gyhydedd Drosgl*, yn chwesill. Y bedwaredd yw y *Gyhydedd Lefn*, yn seithsill. Y bumed yw y *Gyhydedd Wastad*, yn wythsill. Y chweched yw y *Gyhydedd Draws*, yn nawsill. Y seithfed yw y *Gyhydedd Wen*, yn ddegsill. Yr wythfed yw y *Gyhydedd Laes* yn un sill ar ddeg. Y nawfed yw y *Gyhydedd Hir*, yn ddeuddeg sill.

Yr enwau wrth ba rai yr adnabyddir y cyhydeddau, yn ol Dosbarth Morganwg yw y rhai uchod; mae Dosbarth Gwynedd yn galw y llinell bumsill yn *Gyhydedd Wen;* y llinell chwesill, yn *Gyhydedd Las;* y llinell seithsill, yn *Gyhydedd Gaeth;* y llinell wythsill, yn *Gyhydedd Draws;* y llinell nawsill, yn *Gyhydedd Drosgl*; a'r llinell ddegsill, yn *Gyhydedd Hir*. Boed i ein darllenydd ieuanc, er mwyn ysgoi dyryswch, graffu ar y gwahaniaeth hwn yn yr enwau a ddyry y Ddau Ddosbarth ar y gwahanol gyhydeddau.

Mae y CORFAN hefyd yn beth y dylid dal meddwl y cyfansoddydd dibrofiad arno. Aneurin Fardd a ddywed taw "Corfan yw dadran acenol ban o farddoniaeth." Yr enwau a ddyru efe ar y gwahananol Gorfanau, a ddylynir genym ni yn y llen hon, gan na welsom ddim yn rhagori arno yn ngwaith un awdwr arall. Y cyntaf yw y *Corfan Crwn*. Mae y *Corfan Crwn* yn cael ei ffurfio o *un* sill, megis *dydd*, *teg*, *llen*, *llawr*, *nos*, *nef*, *&c*. Yr achos y gelwir hwn yn Gorfan *Crwn* yw, am fod un sill yn gwneyd Corfan gyflawn ynddi ei hun, megis y gwelir yn y llinell hon o waith Gutyn Peris, lle cawn chwe' Chorfan Crwn,

Briw, braw, brwyn, mawr, gwyn, gaeth.

Yr ail a elwir y *Corfan Rhywiog*, a gwneir hwn i fyny o air dwysill, yr acen ar y sill gyntaf, a'r sill olaf heb yr un. Yr achos y gelwir hwn yn *Gorfan Rhywiog* ydyw, am fod y gair yn cael ei aceniu yn rhywiog ynddo yn ol anianawd iaith y Brython. Gallem nodi y geiriau canlynol fel engreifftiau o'r *Corfan Rhywiog* :—*molawd*, *esgyn*, *tafod*, *gwisgo*, *&c*.

Y Corfan nesaf yw y *Talgrwn*. O air deusill y gwneir y Corfan hwn i fyny, ond fod y sill gyntaf yn fyr, a'r olaf yn hir; megis gwag*âu*, mwyn*âu*, glan*âu*. Wele yn canlyn linell a phum' Corfan Talgrwn ynddi:

"Pa *bryd*, fy *nhad*, caf *esgyn uwch* y *llawr?*"

Tybiwn mai yr achos ei alw yn *Dalgrwn* ydyw am fod ynddo droad disymwth o'r naill acen i'r llall.

Un arall sydd genym i'w nodi ydyw y *Corfan Cydbwys*. Dwy sill gydbwys a wna i fyny y Corfan hwn; megis *hen ddyn*, *nos hir*, *merch wen*, *&c*. Sylwer, fod yr un faint o bwysedd yn disgyn ar bob un o'r ddwy sill, a dyma y rheswm am ei alw Corfan Cyd*bwys*, h. y., mae y ddwy sill yn gydbwys parth acen.

Y *Corfan Crych Dyrchafedig* yw y nesaf. Gwneir hwn i fyny o dair sill; y ddwy flaenaf yn fyrion, a'r olaf o'r tair yn hir, megis llawen*hau*, ymdrst*hau*, ymdec*hau*, &c., neu o ychwaneg nac un gair, fel hyn, "Yn y *man*, âf i'r *llan*, adyn *gwan*, *&c*. Y penillion adnabyddus ar "Forfa Rhuddlan," a genir ar y corfan hwn.

"Cilia'r *haul*, draw dros *ael*. bryniau *hael* Arfon;
Lleni'r *nos* sy'n myn'd *dros* ddol a *rhos* weithion."

Y rheswm am alw hwn yn Gorfan *Crych Dyrchafedig* ydyw, fod ei aceniad yn ddyrchafedig neu ddolenog, ac mai ar acen ddyrchafedig y gorphenir ef.

Mae y *Corfan Crych Disgynedig* yn deilwng o gael ei nodi. Yn wir, mae amryw awduron yn sylwi ar hwn ar draul esgeuluso ei gyferbynydd, er nad oes air unigol yn ein hiaith ar y Corfan Crych Disgyniedig, am y rheswm eglur fod rheol ei haceniad yn groes i hyny. Er na ellir diweddu braich ar y Corfan hwn, eto mae yn taro y glust yn esmwyth yn nghanol llinell, fel

"*Hys*bys y dengy*s* y dyn."

Yn y llinell hon, cawn ddau Gorfan Crych disgynedig, a Chorfan Crwn yn ei diweddu. Sonir hefyd am Gorfan Cymhlyg Disgynedig, a Chorfan Cymhlyg Dyrchafedig. Gall yr ymofynydd ieuanc ymgynghori â "*Thafol y Beirdd*" am ychwaneg o hysbysrwydd.

Dichon y dylem gyfeirio meddwl y Cyfansoddydd ieuanc at IAWN ACENIAETH eto. Mae rhoddi yr acen ar bob gair yn ei le priodol mewn braich o farddoniaeth, yn llawer mwy pwysig nac y mae y cyffredin wedi tybied. Cawn fod cynyrchion llawer o Feirdd y Cymry yn nodedig wallus ar y cyfrif hwn. Y rheol fel y'i gosodir

i lawr gan ysgrifenwyr goreu ein hiaith ar y mater hwn, ydyw i'r "Ban fod yn gydiyw ei acen yn mhob corfan, a'r geiriau i gael eu priodol acen, yn ol rheol yr iaith, fel pe eu geirid mewn traethawd." Deallir ar ba sill y mae yr acen i fod wrth nifer y sillau mewn braich o farddoniaeth. Er enghraifft, meddylir am y mesur *wythau* mewn Emynyddiaeth, h. y., wyth sill yn mhob braich; gwelir fod yr acen yn disgyn bob yn ail sill cyn y ga'l fod yn rheolaidd a naturiol, megys y gwelir yn y penill canlynol,

> Tu *draw* i'r *llen* yn *nhŷ* fy *Nhad*,
> Y *cawn* o *ffrwyth* y *cariad* *rhad*;
> Ein *gwledd* am *byth* fydd *grawn* y *groes*,
> Heb *un* o'i *le*—heb *boen* na *loes*.

Yn y mesur a elwir wyth a saith, h. y., wyth sill yn y llinell gyntaf, a saith yn yr ail, mae yr acenion i fod ar yr ail sill, y bedwerydd, y chweched, a'r wythfed. Bydd i ychydig sylw ddysgu y bardd ieuanc i osod yr acen yn ei le priodol ar yr oll o'r gwahanol fesurau eraill.

Cenir Pryddestau ar destynau arwrol yn gyffredin ar Orchan y Gyhydedd Hir; dyma y mesur a ddewisodd Glan Geirionydd ac Eben Fardd i ganu ar yr Adgyfodiad. Gwir fod y ddau wedi bod yn lled esgeulus gyda yr aceniad, fel y gellir gweled wrth ddyfynu y llinell gyntaf o'r Bryddest arobryn,

> "Adgyfodiad y meirw! O y fath destyn!"

Llinell glogyrnaidd ydyw, ac mae yn annichonadwy ei hacenu "yn ol rheol yr iaith, fel pe ei geirid mewn traethawd." Yn ngorchan y Gyhydedd Hir, dylid cofio fod yr acen yn disgyn ar y drydedd, ar y chweched, ar y nawfed, ac ar y ddeuddegfed, megys y canfyddir yn y llinell ganlynol:

> "Fy Mbryn*wr* grasus*af*, addef*af* i ddiaf*ol*."

Mae o bwys neillduol i gyfansoddwyr ieuainc dalu sylw i ddisgyniadau naturiol ac acenyddiaeth deg a phriodol, gan fod llithrigrwydd a mwynder y fraich o farddoniaeth yn dybynu ar hyn i raddau helaethach nac y mae llawer wedi tybied. Peth arall i sylwi arno ydyw ODLIAD CYWIR A PHERSEINIOL. Gwyddir fod y gân ddiodl mewn cryn fri yn mysg y Saeson, ond mae yn ymddangos fel yn anghydweddol âg anianawd y Gymraeg. Ceisiodd amryw ddwyn y bryddest ddiodl i arferiad yn iaith y Cymry, ond mae pob cynyg wedi troi allan yn aflwyddiannus. Hwyrach mai gormod ydyw dysgwyl iddi ddyfod byth yn boblogaidd yn mysg ein cenedl, am

nad yw mewn un modd yn cydweddu â theithi ac âg arbenigion y Frythonaeg. Eto, ped ymosodai rhyw fardd gwir athrylithgar i roddi boll egnion ei ddarfelydd ar waith, dichon y gallai wneyd gorchest ragorach na dim a gyflawnwyd yn ein hiaith. Yr ydym yn pryderus ddysgwyl am WILYM HIRAETHOG ar "Gyfryngdod Emanuel yn Ganolbwnc y Cread," gan ein bod yn meddwl os oes un Cymro yn fyw a all wneyd gorchest ar y mesur diodi, mai Hiraethog ydyw y Cymro hwnw. Ond fel rheol gyffredin, gwell yw gofalu am odliadau cywir a pherseiniol, gan yr ychwanega hyny yn fawr at felysder a swyn y penill. Ni ddylid rhoddi *ef* ac *edd* i gydodli. Bai ydyw gosod *u* ac *y* i gydodli: enw y bai hwn, yn ol rheolau y Gynghanedd Gymraeg ydyw *Twyllawdl.* Ni oddefir ychwaith i *id* ac *ig*. *an* ac *am*, *og* ac *oc* i gydodli. Dichon fod gwallau o'r natur hyn wedi dygwydd mewn rhai penillion tra adnabyddus, ac mewn rhai caniadau tra phoblogaidd, ond boed i'r cyfansoddwr ieuanc eu gochel gan eu bod yn sicr o anurddo ei waith, a rhoddi awgrym i bawb a'i darlleno o anaeddfedrwydd barn a phrofiad. Yn y caniadau a'r pryddestau rhyddaf, dylai y prif odliadau fod yn gywir o ran sain, yn lle fod ein hiaith yn cael ei hanurddo trwy ddefnyddiad y fath eiriau a *gwa'd* am gwaed; *tra'd* am traed; *o'n* am oen; *po'n* am poen; *ho'n* am hoen; *o'r* am oer; *po'r* am poer; *llo'r* am lloer; a llawer o enghreifftiau eraill rhy luosog i'w nodi ar y pryd presenol. Mae y cyfryw odliadau yn taro yn anhyfryd i'r glust, ac ymddangosant yn wrthunach fyth i'r llygaid ar y llyfr. Ysgoir hwynt yn rhwydd ond arfer ychydig ofal a manylwch. Bellach yr ydym yn dyfod yn mlaen i wneyd ychydig nodiadau ar

## Y CYNGHANEDDION CYMREIG.

Mae rhai fel pe priodolent bob rhinwedd ac ardderchogrwydd i'r Cynghaneddion, tra mae eraill yn priodoli iddynt bob anffawd, ac yn pentyru arnynt bob dirmyg. Tebyg fod y gwirionedd o berthynas iddynt yn gorwedd yn rhyw le rhwng yr eithafion hyn. Ynfydrwydd ydyw eu dyrchafu i'r uchelion fry, fel pe hwy fyddent hanfodion barddoniaeth, a llawn cymaint ynfydrwydd drachefn ydyw eu diystyru a'u gwarthruddo fel pe na byddai gwreichionen o farddoniaeth mewn dim a gyfansoddwyd arnynt. Yr ydym yn edrych ar y cynghaneddion fel addurnwaith teg a chelfydd—fel gwisg brydferth i orwychu cynyrchion plentyn athrylith. Mae prinder gofod yn ein gosod dan angenrheidrwydd o arfer byrdra.

Wrth y Gynghanedd y mae i ni ddeall fod y cydseiniaid yn cydateb eu gilydd mewn braich neu linell o farddoniaeth; ond nid yw y llafariaid i gydateb eu gilydd, rhaid iddynt hwy gael eu cyfnewid, onite bydd y Gynghanedd yn wallus. Dywedir nad oes ond dwy brif gynghanedd, sef y *Gynghanedd Groes*, a'r *Gynghanedd Sain*, ac mae yr holl gynghaneddion eraill yn gwreiddio yn y ddwy hon. Y cydseiniaid sydd yn rhoddi bodolaeth i'r Gynghanedd Groes; nis gallasai y naill hanfodi heb y llall. Ymwahana y Gynghanedd Groes yn dair rhywogaeth, sef croes rywiog, croes o gyswllt, a chroes ddisgynedig. Ystyrir mai y Groes rywiog ydyw yr oreu o'r holl gynghaneddion ar gyfrif ei nerth, ei hystwythder a'i pherseinedd. Sylwer, y gellir ei chanu wyneb a gwthwyneb, fel hyn,

Pont uchelaidd, pant a cheiliog,—wyneb.
Pant a cheiliog, pont uchelaidd,—gwrthwyneb.

Croes o gyswllt a yw yr enw a roddir ar linell o farddoniaeth ag y bo y gydsain olaf yn y brif orphwysfa, sef y gydsain olaf yn haner y llinell, yr hon a ddygwydd yn y drydedd neu y bedwaredd sill—yn ateb i'r gyntaf yn y llinell. Yn y gynghanedd hon, mae cydsain o un sill yn cael ei chysylltu â sill arall, megis yn y llinell ganlynol:—

Gwr a'i wisg | ar ei ysgwydd.

Gwelir fod yr *g* yn niwedd wisg yn cael ei chysylltu wrth *ar* yn nechreu y ban ganlynol er mwyn ateb i'r *g* yn nechreu y gair *Gwr*—*gwr, går.* Sonir hefyd am Groes haner cyswllt, Croes o gyswllt ewinog, Croes o ddwbl gyswllt, a Chroes o gyswllt ddisgynedig. Ymgynghored yr efrydydd ieuanc â'r *Drych Barddonol.*

Croes ddisgynedig yn ol Caledfryn, "Yw bod yr orphwysfa, yr hon fydd bob amser yn un sill, yn cynghaneddu â'r sill nesaf i'r brifodl, fel hyn: Isel fan i'w sail feini, *fan* a *feini.* Mae amryw gynghaneddion eraill yn deilliaw o'r Groes ddisgynedig, ond ni oddef ein terfynau i ni fanylu arnynt.

Teg yw i ni eto roddi awgrym neu ddau parth y *Gynghanedd Sain.* Nodwedd arbenig y Gynghanedd hon yw, fod y gorphwysfäu yn cydodli o ddechreu y llinell i'w diwedd. Mae yn angenrheidiol fod deu-air yn y fraich yn unodli, â'r olaf o'r ddeu-air hyny yn croes gynganeddu yn gydseiniog â'r gair olaf o'r fraich, neu ynte yn trawsgynganeddu ag ef.—Gwel *Tafol y Beirdd, Tu dal.* 74. Mae y cyntaf o'r ddeu-air yn y Gynghanedd hon yn cael ei alw *gwant*, a'r ail yn *rhagwant.* Megis yn y llinell ganlynol,

Anfeidrawl ryglyddawl glod.

Yr orphwysfa gyntaf yn y llinell hon a geir yn niwedd y gair Anfeidr*awl*, a'r ail yn niwedd y gair, ryglydd*awl*, ac felly mae y ddau *awl* yn cydodli, ac mae yr *g l* mewn rhy*gl*yddawl yn bachu yn yr *g l* sydd mewn *gl*od, yn niwedd y fraich. Sain unodl y gelwir hon. Crybwylla Caledfryn yn y *Drych Barddonol* am sain lefn, megis

"Mawredd bro Wynedd bur iach."

Mae yr orphwysfa gyntaf ar *edd* yn niwedd y gair Mawredd; a'r ail ar *edd* yn niwedd y gair Wynedd. Ac mae y cydseiniaid *b r* yn bro a *b r* yn bur yn ateb i'w gilydd.

Sain gadwynog, fel hyn,

Dyn y sydd yn adyn sal.

Mae y *sydd* a'r *sal* yn ateb eu gilydd; ac mae *dyn* ac *adyn* o'r un sain gydodlawg.

Sain groes, fel hyn,

Ior yn wiw Bor i ni bydd.

Mae *Ior* a *Bor* yn cydodli; a'r *r* yn *Ior* yn ateb i'r *r* yn *Bor*, a'r *n* yn yr arddodyn *yn*, yn ateb i'r *n* yn *ini*, a'r *Bor* yn ateb i *bydd*.

Mae yr awdwyr a enwasom eisoes yn crybwyll hefyd am Sain wyrdro, Sain ddisgynedig, Sain bendroch, Sain ddyblyg, a Sain gudd. Cymerai ormod o'n gofod i ni roddi engreifftiau. Gall y darllenydd ymofyngar ymgynghori â Robert Davies, Nantglyn; Huw Tegai, a Chaledfryn, am unrhyw hysbysrwydd ychwanegol, ac ni chaiff ei siomi.

## RHYWIAU CERDD.

Byddai o werth i'r efrydydd ieuanc gymeryd sylw o Rywiau Cerdd; heb hyny ni bydd wrth geisio cyfansoddi, ond teithio anialwch dyrys, neu goedwig dywell, ac heb ddeall yn oleubwyll at ba bwynt i gyfeirio. Dylai rhyw y gerdd fod bob amser yn ateb i ansawdd y testyn. Trylwyr anmhriodol ac anweddus fyddai cyfansoddi galargerdd ar destyn gorfoleddus, neu arwrgerdd ar destyn syml, cyffredin a dibwys. Dywed y Doethawr Pugh, yn ei Ragdraith i Farddoniaeth Llywarch Hen, eiriau i'r perwyl hwn, "Rhywiau Cerdd, herwydd sylfon crebwyll, achaws ac ystyr; wyth ryw y sydd: Cerdd Fawl; Cerdd Faneg, neu Hanesgerdd; Cerdd Addysg; Cerdd Anerch; Dyfalgerdd; Cerddalargwyn; Gogan, neu Ddychan a Sen; Hawl ac Ateb."

1. *Cerdd Fawl*, yw "Can o glod am orchestion a rhagorgampau." Mewn Mawlgerdd mae yn angenrheidiol i'r syniadau fod yn

bur, boneddigaidd a thynerfwyn; yr iaith fod yn hedegog a grymus, heb eiriau gweiniaid a diystyr; ac i'r mesur fod yn gyfryw ag a roddo gyfle i'r awen chwareu ei hedyn mewn awyr drylen, oleu a heddychol. Gofaler rhag *gor*foliant a gwaseidd-dra chwerthinus.

2. *Cerdd Faneg*, neu *Hanesgerdd*, yw Cân yn rhoddi adroddiad teg a chywirbwyll o ryw ddygwyddiad hanesyddol; amcan y cyfryw yw rhoddi gwybodaeth a chyflwyno hyfrydwch mewn ymadroddion diwair, syml a destlus. Dylid bod yn ofalus i beidio llwytho y Gân ag adroddion diangenrhaid, na dwyn i mewn weithredoedd anmhriodol. Rhaid bod yn wyliadwrus i gyfleu pob dygwyddiad mewn lliw priodol, a gochel rhag myned dros derfynau y gwirionedd.

3. *Cerdd Addysg*, yw Cân yn dysgu "rhyw gainc a gwers ar ddoethineb, neu ryw wybodaeth a chelfyddyd." Gellir gweinyddu addysg naturiol, foesol neu grefyddol ar gerdd o'r rhyw dan sylw. Rhaid i'r iaith fod yn goeth, a'r meddwl yn loew, rhag i'r addysg gael ei dywyllu, a'r wybodaeth gael ei chuddio.

4. *Cerdd Anerch*, yw Cân i longyfarch, cysuro, neu adrodd rhyw genadwri. Gall hon gael ei chyfansoddi ar ddull llythyr, yr ymadroddion yn rhydd a chyfeillgar, ond yn gwbl barchus, gan ymgadw oddiwrth y chwyddedig ar y naill law, a'r iselwael ar y llall.

5. *Dyfalgerdd*, yw Cerdd Ddarluniadol, lle mae y crebwyll a'r darfelydd yn cael eu gosod ar lawn weithrediad i ddyfalu rhyw amgylchiad, a lliwio ei ddigwyddion mewn goleuni llachar ac ysblenydd. Yma y mae y dychymyg bywiog yn dyfod i'r golwg, a'i waith yw gosod ger bron olygfeydd o ysblander ac arucheledd mewn ymadroddion bywiog a pherlewygol.

6. *Galargerdd*, yw Cân o gwynfan neu hiraeth, oblegid anffawd, colled, neu ddrwg-ddygwyddiad. Ceir fod amryw fathau o alargerddi, megys *Galar serch*, *Galar achos colled*, *Galar ar ol cyfaill*, *Galar ar ol y marw*, &c., &c. Mewn Cân o'r natur hyn, rhaid cael teimlad dwys, syniad cywir, darfelydd bywiog, ac iaith dyner, doddedig, a llesmeiriol.

7. *Gogangerdd*, yw Cân Ddychan neu Sen. Dylid gofalu cadw allan bob cyfeiriadau personol, pigog, gan mai amcan y gerdd yw sathru drwg dan draed, a gwneyd bai yn atgas gan holl ddynolryw. Arf miniog yw ymath hwn o gerdd, ac nid yw i'w thrin ond gan ddwylaw celfydd.

*Cerdd Hawl ac Ateb*, yw Cân gyfansoddedig ar ddull dau neu ychwaneg yn ymddyddan â'u gilydd. Weithiau dyn a'i gyfaill sydd yn ymddyddan â'u gilydd; bryd arall, gwr ieuanc a'i gariadferch; ac yn lled fynych, y byw a'r marw. Nid yw mor hawdd cyfansoddi Cân gywrain, weddeidd-dlws yn y dull hwn: aml y gwelsom y ffug-fardd wrth gynyg, yn gwneyd ei hun a'i destyn yn eithaf dirmygus. Teg yw sylwi fod rhai yn gwrthwynebu rhoddi geiriau yn ngenau y *marw;* beth bynag a ddywedir am y priodoldeb o hyny, ydym yn meddwl y dylai ei ymadroddion fod yn hynod gynil.

### Y PEDWAR MESUR AR HUGAIN.

Wrth fyned yn mlaen i wneyd ychydig nodiadau parth y Pedwar mesur ar hugain Cymreig, yr ydym yn teimlo gradd o anhawsder i benderfynu rhwng gwahanol reithiau yr awduron a pha rai yr ydym yn ymgynghori. Nid ydym yn cael odid ddau yn gyfunfarn. Yr hyn sydd yn achosi i ni fwyaf o benbleth ydyw yr annghydgordiad rhwng Dosbarth Morganwg a Dosbarth Dafydd ab Edmwnd: sylwer mai eiddo yr olaf a ddylynir yn gyffredin gan Feirdd Gwynedd.

Efallai mai y dull mwyaf boddhaol fyddai i ni wneyd ychydig grybwyllion parth y Ddau Ddosbarth fel y maent yn cael eu gosod allan yn "Nghyfrinach y Beirdd" a "Thafol y Beirdd" ar y naill law, ac yn Ieithiadur R. Davies, Nantglyn, a'r "Drych Barddonol" gan Caledfryn, ar y llaw arall.

Wrth grybwyll am y Pedwar mesur ar hugain yn ol Dosbarth Morganwg, nis gallwn gael ymadroddion mwy eglur i'w gosod allan nag a ddefnyddir yn y *Powysion, Llyfr II., Rhagdraith.* Fel y canlyn y dywedir yno: "Cerdd Dafawd a lunir o Golofnau a Gogolofnau, sef y *naw* Gorchan a'r *pymtheg* adlawiaid fesurau. Y naw gorchan yw naw amrywiaeth yn hyd Ban, neu rif sillau, o Orchan y Gyhydedd fer bedeirsill, hyd Orchan y Gyhydedd hir o ddeuddeg sill. Ar y rhai hyn y canai y cynfeirdd, gan mwyaf. Yn Nosbarth a Rheithiadur Cerdd *Geraint Fardd Glas*, ni chynwysir eithr *deg* o brif ansoddau, sef y *naw* Gorchan, ac *un* penill adlaw cyfrodeddig o rai o'r Gorchanau, yn anghyfanhyd: ac i'r penill adlaw hwn, rhoddwyd yr enw *Cynghawg*. Eithr mewn amser, o lwyr a chynil ymbwyll ac ystyriaeth, y cafwyd ar ddeall bymtheg modd ac ansawdd neillduol ar gymhlethu y colofnau, a rhithaw a gosod Bannau ac Odlau; a bod neillduol ansawdd o *lwyr*

*angen* ar bob un o'r moddion hyn. Felly, rhwng y *naw* Gorchan a'r *pymtheg* Colofn adlaw y mae pedwar ar hugain o fesurau ar Gerdd Gymraeg, herwydd colofn, a mesur, a mydryddiaeth."

NODION AR Y GORCHANAU.

1. *Gorchan y Gyhydedd Fer.* Ei hangen yw bod hyd y ban yn bedeirsill, o chynwysa pob penill o bedair i wyth ban. Os rhoddir ychwaneg nag wyth ban yn y penill, mae yn peri diflasdod ar y glust. Er mwyn rhywiogrwydd, nac eler dros wyth ban. Ceir yr enghraifft ganlynol yn ngwaith *Edward Dafydd.*

"Breudeg brydydd,
Ethol ieithydd,
Gwêais Gywydd,
Llawn llawenydd;
Cân er cynydd
Iawn awenydd,
A'th dafyeg i'th ddydd
Fedrus fydrydd."

2. *Gorchan y Gyhydedd Gaeth.* Angen y Gyhydedd hon yw ban pumsill, ac mae y penill i gynwys o bedair i wyth ban. Yn niffyg ei ragorach, cymerer a ganlyn yn enghraifft:

Brenin y bryniau,
Noddwr mynyddau,
Rhyd oer lasau
Ar wâr ororau;
Dwg y Bendigaid
Unwedd i enaid
Gwiwfron ei gyfraid,
Afraid yw'r efrau.

3. *Gorchan y Gyhydedd Drosgl.* Rhaid i'r Gyhydedd hon gael ban chwesill, a gall hyd y penill, felyn y ddwy flaenorol, fod o bedair i wyth ban. Enghraifft:

Gwanwyn, morwyn a merch
A minau yn ymanerch;
Aeth trosodd nyth traserch
A lluniwyd y llanerch
Mewn urddas dinas derch
Ceir oedfa Cariadferch.

Sylwer fod y tair cyhydedd a grybwyllwyd yn cael eu galw mân-golofnau, a dywedir na ellir iawn ganu Traethodyn na Chywydd arnynt gan eu byred.

4. *Gorchan y Gyhydedd Lefn.* Rhaid rhoddi ban saith sill i'r Gyhydedd hon, a gall penill arni gynwys o bedair i ddeuddeg ban.

Dylai acenion y banau gael eu hamrywio, yn enwedig y banau disgynedig, canys diflas fydd llawer o honynt yn nghyd yn gyfacen. Enghraifft chweban:

Y lledryw ddiwyllodraeth
A fu gynt, yn fywiog aeth
I hwylio moddion helaeth
I'n lloni oll â lluniaeth
A'n dwyn o'r mawr ddrudaniaeth—
O na b'ai gwell—ni bu gwaeth.

G. Mechain.

5. *Gorchan y Gyhydedd Wastad.* Rhaid i'r Gyhydedd hon gael ban wythsill, ac mae penill arni i gynwys o bedair ban i un ar bymtheg, gyda braint gyffredin y Gorchanau. Mae y golofn hon yn nodedig gyfaddas i gyfansoddi cerdd serch a galar arni, a dylai gael ei harfer yn llawer mynychach. Wele engraifft yn canlyn:

Dwyre, O! wybodaeth dirion,
Dwyre addysg y Derwyddon!
Dwyrewch, moeswch armesion,
A chynwysiad eich hanesion,
Eich ansawdd, a'ch nawdd newyddion,
Eres wiw hwyl yn yr oes hon.

G. Mechain.

6. *Gorchan y Gyhydedd Draws.* Rhaid rhoddi ban nawsill i'r Gyhydedd hon, a gall y penill gynwys o bedwar ban i un ar bymtheg. Colofn ragorol at gerddi o amrywiol natur. Wele enghraifft chweban:

Aed adlais ysgafnllais dros gefnlli,
Drwodd i Fon—bro'r Drwyddfeini,
Treiddied, cyraedded, bob cwr iddi,
Croew beroriaeth uwch crib Eryri,
Nes agor rhagor a rhywiogi
Trem oer Idris—er tra mawrydri.

D. Ddu.

7. *Gorchan y Gyhydedd Wen.* Angen y Gyhydedd hon yw ban deg sill, a hyd y penill o bedwar ban i un ar bymtheg, gyda braint gyffredin y Gorchanau. Rhagora y Golofn hon mewn cerddi galar a gwrhydri, a dywedir mai o honi y mae Hir a Thoddaid Gwynedd, ac Adlawiaid eraill, yn deilliaw. Enghraifft, pedryfan:

Er gwyr arfawg, tarianawg, terwynion,
Ni rusent, ymroddent; O mor ryddion!
Wynebent anturient: onid dewrion,
Drywanu milwyr â'u dyrnau moelion.

D. Wyn.

8. *Gorchan y Gyhydedd Laes.* Rhaid i'r Gyhydedd hon gael ban o un sill ar ddeg, a gall penill gynwys o bedwar i ugain o fanau. Caniateir cyfansoddi penill hwy ar y colofnau hirion nac ar rhai byrion, am nad yw yr odliad yn dyfod mor fynych i flino y glust a chyfunllef. Wele enghraifft, pedryfan, ar yr acen ddyrchafedig:

"Ni wnaf un gerdd ofer o bleser i blant,
Nac i unferch a'r aned er mwyned ei mant,
Yr awr hon 'rwy 'n myned cyn sobred a sant,
Bu amheu, gwae finau! gwn gynau gan gant."

Arall ar y ddisgynedig:

"Am *Oronwy Owain* trwm yw y newydd,
Sy' gredadwy, goeliadwy drwy y gwledydd;
Y gair du yn benaf a gredwn beunydd,
Heddyw marwol ydyw y mawr Wyliedydd."

9. *Gorchan y Gyhydedd Hir.* Rhaid rhoddi ban deuddegsill i'r Gyhydedd hon, a gall penill gynwys o bedair i ugain ban. Ystyrir y golofn hon yn un o'r rhai goreu, os nad yr oreu oll, am y dyry fantais i gynal yn mlaen eglurdeb synwyr, a'i bod yn nodedig gyfaddas i wneyd adroddiad godidog arni o bethau pwysig mewn hanes ac athrawiaeth. Wele enghraifft wythban, er addysg y darllenydd:

Oer wylais gan ddolur, mawr waelais gan dduloes,
A chalon i'm erlid â cholyn y mawrloes;
Annedwydd yw'm llamlef a nodwydd yw'm llymloes,
A gwyn oer i 'ngwaelu ag yni'r angeuloes;
Aeth pob cysur a llwyddiant a mwyniant o'm oes;
A chollais em anwyl erchyllais i'm einioes;
Hiraethaf i'm oerlef, a grwythaf i'm hirloes,
A mwyned ei chariad, ne manod a cheirioes.

D. WILLIAMS *o Benllin.*

Cofier y rhaid i bob ban mewn penill Gorchan fod yn cydodli: os amgen, bydd yn cyfranogi o ansawdd Cywydd, neu Draethodyn. Mae y bardd i ymgynghori â'i synwyr da ei hun ac â'i chwaeth o barth rhif y banau a arfera mewn penill Gorchan.

"Cafwyd allan gynifer a phymtheg modd a dull i gymysgu y Gorchanau crybwylledig i wneyd mesurau cymhleth, ac mae neillduoldeb ansawdd o lwyr angen ar bob un o honynt; a felly, rhwng y naw Gorchan a'r pymtheg colofn adlaw, y mae *pedwar ansawdd ar hugain* ar Gerdd Gymraeg, herwydd colofn mesur a mydryddiaeth."

## NODION AR YR ADLAWIAID.

Mae yn disgyn arnom yn awr i wneyd ychydig nodiadau ar y mesurau israddol, y rhai sydd yn cael eu ffurfio trwy gymysgu colofnau y naw mesur gwreiddiol mewn pymtheg o foddau gwahanolryw. Dylynir *Gwallter Mechain* yn nhrefniad y mesurau hyn.

1. *Triban Milwr*. Mae nod angen y mesur hwn yn cael ei awgrymu yn ei enw, sef *tri ban*, a'i fraint yw dewis y Gyhydedd a fynir o saith i ddeg sill. Gellir hefyd ei ganu yn unodl, yn broestodl, neu yn gymysg o unodl a phroest.

Yn *unodl* fel hyn :

> "Cain cynnwyre—cynne cawn,
> O rhwystir cyrch yr estrawn,
> Dial nef a'i deil yn nawn."

Yn *broestodl* fel hyn :

> "Acen ber yw cân y bardd,
> Gyda'r gôg ergydia'r gerdd,
> Hyd lwyndir a gweundir gwyrdd."

Yn *gymysg proest* ac *unodl* fel hyn :

> "Cwyraidd gainc yw cerdd y gôg,
> Awen Mai dien a'i dwg
> I ganu 'nghoed Morganwg."

2. *Clogyrnach*. Yr ydym yn cael mai nod angen y mesur hwn yw anwastadrwydd clogyrnog yn hyd y llinellau a ffurfiant y penill. Mae gan y bardd ei ryddid i ddewis ei gyhydeddau yn ol fel eu gwelo gymhwysaf i ansawdd ei destyn, ond rhaid i'r holl fanau yn y penill fod yn unodl. Enghraifft bumban :

> "Er bod drwy 'mron drwm gwynion i'm gwanu ;
> Er lled y gofal cynal canu,
> Parod oeddwn yn prydyddu,
> Ymgais ar ferch a'i serchu
> Yn ddidawl fythawl heb fethu."

Gwelir fod yn y ban cyntaf o'r penill uchod, 10 sill ; yn yr ail, 9 ; yn y trydydd, 8 ; yn y pedwerydd, 7 ; yn y pumed, 8. Y clogyrneiddiwch anwastad hwn yn hyd y banau, a roddes yr enw ar y mesur.

3. *Huppynt, neu Lostodyn*. Gellir amrywio y mesur hwn braidd yn ddiderfyn. Dywedir mai ei nod angen yw dull gosodiad y banau, sef deufan, neu ragor o foniaid, a llosgwrn yn odli yn wahanol i'r bonfanau ac yn arwain prifodl y penill.

Wele yn canlyn un penill triban Huppynt ar y Gyhydedd Gaeth. a llost ar y Gyhydedd Fer, fel enghraifft i'r efrydydd ieuanc:

"Codais foreuddydd,
Gyda'r ehedydd,
I rodio'r gweunydd
  Dolydd deiliog;
A merch a glywais
Yn canu perlais
Yn gerdd arianllais
  Gydlais â'r gôg."

Gellir amrywio moddau Huppynt yn ddiddiwedd, gan y caniateir hyn gan fraint y mesur. Huppynt yw mesur amryw o'r hymnau, a dyna yw pob penill Llosgyrnog.

4. *Llamgyrch.* Yn y mesur hwn, rhaid bod llinellau blaenaf y penill yn cydodli â'r llinellau olaf ynddo, gan *lamu* dros y llinellau canol, y rhai fyddant ar ryw brifodl arall. "Ar hyn o ddull ar benill ac odl y saif ansawdd angen y mesur, a'i fraint yw canu ar yr un a fyner o'r naw cyhydedd; ond afrywiocach y bernir y tair cyhydedd feraf na'r lleill." Mae y rheithiad yn gofyn nad yw y llam i fod yn fwy na chwech nac yn llai na deufan; yn unodl â'u gilydd neu yn frithodl. Weithiau bydd y penill ar fanau cyfunhyd, ac weithiau ar fanau anghyfunhyd: ond nid da bod gormod o anghyfartalwch rhyngddynt. Yn canlyn, wele enghraifft ar y Gyhydedd Wastad, a'r banau yn ogyfunhyd:

"I'n Duw Iesu, Oen dewisawl,
Y gwewn feirdd gan fo urdd*awl*,
Ac iawn yw *mawl* genau melys,
I'n Ior nefol yn air nwy*fus*,
A sain wedd*us* awenyddawl,
O fwriad ffydd bob dydd heb dawl."

5. *Y Gyhydedd Gyrch.* Nod angen y Gyhydedd Gyrch yw dwy golofn, neu ddwy fraich o'r un golofn, a sill ddiweddaf y gyntaf yn dwyn cyrch at orphwysfa yr ail linell; a diwedd yr ail linell yw y brifodl. Gwna dau o'r banau cymbleth hyn benill, ond caniateir dodi y nifer a fyner dros hyny. Braint y mesur yw dewis a fyner o'r chwech cyhydedd hwyaf, ar un a fyner a'i odli a'i brithodli. Enghraifft bedwarban ar y Gyhydedd Draws:

"Mwyn yw dail yr haf mewn dolydd,
  Glesin gweunydd glwys yn gynar;
A nod hwylus ednod tewlwyn
  Ucho'n loewfwyn a chân lafar."

Un o foddau y Gyhydedd Gyrch yw "mesur Salm" Cymreig, "Caniad y Gog i Feirionydd," "Fy anwyl fam fy hunan," &c., &c.

6. *Cyngawg*. Nod angen Cyngawg yw cymblethu gwahanol golofnau a mesurau yn un penill cyfod'edig, a'i fraint yw arfer y Gyhydedd a fyner; ond dylent lithro yn rhywiog y naill i'r llall. Wele yn canlyn enghraifft o Gyngawg chwe' ban o Farwnad G. Mechain i Syr Thomas Picton:

"Llew y cyrch mewn llu y caid
Er deniaw ei Brydeiniaid;
Cynorth canaid
Trwy'r llwch—trwy'r llaid
A'i *Bigdwn* troi hwn, fel tarw, haid—o Spaen
Corniai o'i flaen y carnfleiniaid.

7. *Toddaid*. Mae dau fath o Doddaid, sef yr Hir a'r Byr. Cenir y Toddaid byr yn bengoll, fynychaf, mewn englyn unodl union; ond yn Gyrchawdl yn yr unodl grwca, ac yn niwedd Byr Thoddaid. Wele yn canlyn Doddaid Cwta pengoll:

" Digrif cael cell rhwng dwygraig—i *ga*nu
Wrth *ag*enawl dollgraig."

Arall Cyrchawdl:

" Madog un enwog yn awr—uchel*son*
Dros Ar*fon* drysorfawr."

Ni arferir Toddaid Byr wrtho ei hun, ond naill ai mewn Ynglyn neu Gyngawg, neu mewn cysylltiad â Thoddaid Hir. Toddaid Hir a ffurfir o ddeufan, y blaenaf yn ddegsill, a'r olaf ar y Gyhydedd Wen neu y Draws, ac mae yn orphwysfa yn yr eilfan yn cyfodli â'r gair cyrch, fel hyn:

" Coda'r llu a fu dan far—yr ang*au*
Dadgloa'r bedd*au* dyd glyw i'r byddar."

8. *Proest Cyfnewidiog*. Mae nod angen y mesur hwn yn sefyll yn benaf yn yr odl. Rhaid newid y llafariaid yn sill y brifodl, a chadw yr un gydsain trwy roddi geiriau megys *gwen* a *gwin*, &c., i gydodli. Mewn Proest, mae yr odlau i fod yn unrhyw â'u gilydd, sef yr oll yn drwm neu yr oll yn ysgafn—oll yn lleddf, neu oll yn dalgrwn. Wele yn canlyn enghraifft o benill Proest pedryfan ar y Gyhydedd Draws:

" Er enill dydd, ar un llaw y dorch,
Prydain a gwyn ar erchwyn ei arch,
Ei gawr aeth fel saeth—ufel o serch
A llefawd ei gwaedd, hollfyd a gyrch."

9. *Ynglyn.* Ychydig o wahaniaeth sydd rhwng *Ynglyn* a Chyngawg. Dywed Cynddelw nad yw hyd yn nod *Gwallter Mechain* yn alluog i wahaniaethu rhwng eu nod angen. Dywed Tafol y Beirdd yn mhellach, fod Ynglyn yn hen batriarch esgobawl, yn ol y ddosbarth gysefin, a phump o deulnoedd wedi deilliaw o hono, sef

1. Triban milwr, fel hyn :

"Ni chred ail Luned eleni—'y mod
Yn y mawr drueni,
Och! liw haul,—am ci chael hi."

2. Byr a Thoddaid, neu yr englyn unodl union cyffredin, megys y'i harferir hefyd gan feirdd Gwynedd.

3. Ynglyn Hir a Thoddaid.

4. Ynglyn Cyrch a Chwta.

5. Ynglyn Gar Hir.

Rhaid i'r efrydydd ieuanc ymofyn â Thafol y Beirdd am y nodweddau gwahaniaethol a berthyn iddynt.

10. *Triban Cyrch neu Driban Morganwg.* Ansawdd neillduol y mesur hwn yw dull ei benill, rhif y banau, a'i Gyhydedd arbenig a neillduol. Ei elfenau cyfansoddol yw deufan ar y Gyhydedd lefn a Ban Cyrch

11. Cywydd. Ffurfir Cywydd o ddwyfraich ar y Gyhydedd Lefn yn Gywyddawdl, sef un o'r banau yn ddyrchafedig, a'r llall yn ddisgynedig, ac yn unodl â'u gilydd. Rhaid newid yr odl ar bob cwpl, a brithodli y gerdd drwyddi fel Traethodyn. Dylai pwys yr acen ar y banau gael ei hamrywio mor fynych ag y gellir.

12. *Proest Cadwynawdl.* Saif nod angen y mesur yn null ei awdl, sef fod y penill yn gadwynawdl, ac yn broestawdl hefyd, fel hyn :

"Er Wellington, Picton, pob,
Gwroniaid oedd o gryn dyb ;
Yn mysg pybyr wyr Ewrob;
Ni chaiff ail na chyffelyb."

D. Wyn.

13. *Cadwyn Gyrch.* Gwneir y mesur hwn â phedair braich yn cadwynodli, sef y fraich gyntaf yn unodl â'r drydedd, a'r ail yn unodl â'r bedwaredd ; a chyrch unodl rhwng ban a ban, sef gorphwysfa yr ail fan yn unodl a gobenydd y ban cyntaf; a gorphwysfa y bedwaredd fraich yn unodl a gobenydd y drydedd ; ac o hyn y tyf ansawdd ac angen y mesur. Enghraifft :

"Ein Cre*awdwr*, Ion car*edig*,
Por em*wedig*, yw'n Pryn*iawdwr*;

Pur Iach*awdwr* a'n Parch*edig*
Dethol*edig* doeth lyw*iawdwr*."

14. *Traethawdl.* Nod angen y mesur hwn yw deufan unodl fel Cywydd, ar yr un a fyner o'r pum' Cyhydedd hwyaf. Tyf ansawdd angen y mesur o frithodl o ban a cyfunhyd. Mae Pryddestau yn fynych yn cael eu cyfansoddi ar Draethawdl digynghanedd, megys eiddo *Eben Fardd* a *Glan Geirionydd* ar yr "Adgyfodiad."

15. *Dyrif neu Gân Arwest.* Ansawdd angen Dyrif yw acen wastad ar y banau, a'r penillion; sef y dylai pob penill fod yn gyfacen â'u gilydd, ac yn gyfundon gyfunbwys lafar a sain â'u gilydd. Perthyn i lwyth y Dyrifau y mae ein holl Emynau, Carolau, Cerddi, &c. Mae rhywiau y penillion bron yn ddirif, ac ni oddef ein terfynau i ni roddi enghreifftiau ond yn unig a ganlyn o ddyrifau cyfochrawdl *R. Ddu o Eryri*:

"Mae cestyll gwr*oniaid* heb wledd na llaw*enydd*,
A gwlad y Bryth*oniaid* heb gân nac aw*enydd*;
Ow! Rhyddid sy'n ny*chu*, heb dant ar ei th*elyn*,
O herwydd brad*ychu* tywysog Llew*elyn*."

Wedi crynhoi y nodion uchod o'r awduron a ysgrifenasant ar Bedair mesur ar hugain Dosbarth Morganwg, dichon y dysgwylir i ni wneyd ychydig grybwyllion yn mhellach parth Pedwar mesur ar hugain Dafydd ap Edmwnd, y rhai a ddylynir yn gyffredin gan feirdd Gwynedd. Er fod yr ysgrifenydd yn Wyneddwr o ran genedigaeth, llafar, a theimlad, eto mae yn deg iddo addef yr ymddengys mesurau Dosbarth Gwynedd yn hynod ddiathrylith a diansawdd wrth eu cydmaru â'r eiddo Cadair Morganwg neu yr Hen Ddosbarth gysefin. Dichon y dylem grybwyll eto y dylynwyd "Cyfrinach y Beirdd" a "Thafol y Beirdd," gyda mesurau Dosbarth Morganwg, a dylynir eto y "Drych Barddonol" gyda mesurau Dosbarth Gwynedd.

Gwneir Pedwar mesur ar hugain D. ab Edmwnd i fyny o dair rhan, sef Englyn, Cywydd, ac Awdl. Mae yr Englynion yn ddau ryw, sef englyn unodl ac englyn proest. Ceir fod tri math o englyn unodl, sef unodl union, unodl cyrch, ac unodl crwca.

1. Unodl Union. Mae Englyn unodl union i gynwys pedair llinell, y llinell gyntaf yn ddeg sill, yr ail yn chwech, a'r ddwy olaf yn saith bob un. Dyna y rheol yn y canonau derbyniedig, ond os nad ydym yn camgofio, cyfreithlonwyd defnyddiad wyth sill yn y ddwy fraich olaf, yn Eisteddfod Madoc. Heblaw hyny, byddai amryw o'r prif-feirdd yn achlysurol yn arfer wyth sill, megys y gwelir yn

un o Englynion *Eben Fardd* i anerch Gwaith Dafydd Ionawr, diwedda un o honynt â'r llinell hon :

"Na bo bwrdd mwy heb y bardd mawr."

Gelwir y ddwy linell gyntaf o Englyn unodl union yn baladr, a'r ddwy linell ddiweddaf yn esgyll yr Englyn. Cofier os cynghanedd sain a ddefnyddir, y dylid gosod yr ail orphwysfa, neu y rhagwant ar y bumed sill yn y llinell gyntaf o'r englyn, ond gall yr orphwysfa gyntaf neu y gwant fod ar unrhyw sill o'r gyntaf i'r bedwaredd. Ni ddylai y llinell gyntaf fod yn hwy na deg sill trwy y gwant, y rhagwant, a'r gair cyrch; ond gellir dechreu englyn a chynghanedd groes, neu draws, neu lusg; ac nid oes eisiau gofalu am want na rhagwant yn y rhai hyny. Gall y fraich olaf o englyn fod ar unrhyw gynghanedd, ond y lusg, er y dichon mai y groes yw y gadarnaf.

2. *Unodl Cyrch.* Mae englyn unodl cyrch i gynwys pedair braich a saith sill yn mhob un. Cyfodlay ddwy fraich gyntaf fel esgyll englyn unodl union, ac mae y llinell olaf hefyd yn cyfodli â'r ddwy gyntaf, ond mae y drydedd linell yn odli yn wahanol, gan gyrchu sill o ganol y llinell sydd yn dylyn, ac odla â'r sill hono, fel hyn :

"Ni char yr Ion, union ŵr,
Enaid un anudonwr ;
Cyn hir, e lyncir i lyn,
Y gelyn a'r gwrthgiliwr."
D. Ddu.

3. *Unodl Crwca.* Pedair braich a gynwys yr englyn hwn eto, saith sill yn mhob un o'r ddwy gyntaf; a'r ddwy olaf yn Doddaid o un sill ar bymtheg rhyngddynt, Nid ymddengys fod y mesur hwn yn ddim amgen na phaladr unodl cyrch a phaladr unodl union wedi eu cysylltu wrth eu gilydd. Enghraifft :

"Gofynaf, holaf eilwaith,
A ddaw y llu o'r bedd llaith ?
Ffug-ddoethion! oerion araith,—yn un bwrn,
Och! gwibwrn yw'ch gobaith."
R. Ellis.

Y mae eto ddeuryw o englynion proest, sef *Proest Cyfnewidiog* a *Phroest Cadwynodl.*

Cynwysa Proest Cyfnewidiog bedair braich, ac mae yn mhob braich saith sill i fod. Sylwer fod yr un gydsain yn niwedd pob braich os cydsain fydd yn diweddu y brifodl, ond newidir y llafariaid olaf yn yr amryw fanau. Fel hyn :

"Pan fo'r teulu cu yn cwrdd
Yn glau i goffâu eu ffyrdd,
A chyfing fawr ing yr ardd,
Wele'u Naf yn ei lawn-urdd."

Weithiau, rhoddir geiriau lluaws-sill yn rhai o'r prifodliadau, ac weithiau cynwysant gynifer a chwech neu saith ban.

Math arall o Englyn Proest ydyw *Proest Cadwynodl.* Cynwysa hwn, fel y diweddaf, bedair braich, a saith sill yn mhob braich. Ond mae y llinell gyntaf o'r Cadwynodl i odli â'r drydedd linell, a'r ail i odli â'r bedwaredd, fel hyn:

"O! fedd, p'le mae'th ryfedd rym?
A'th gaeth fuddugoliaeth gam?
Er ing llwyr yr angau llym
Wele ni, heb ol un nam."
R. Ellis.

Wedi crybwyll y nodion uchod am Englynion, mae genym i fyned yn mlaen i sylwi eto ar Gywyddau.

Y mae tri math o fesurau Cywydd, y rhai a elwir Cywydd Deuair, Cywydd Llosgyrnog, ac Awdl Gywydd. Dosbarthir Cywydd Deuair yn ddau fath, sef Deuair Byrion a Deuair Hirion.

Mae Deuair Byrion yn cynwys dwy linell, pedair sill yn mhob un; rhaid i brifodl y naill fod yn lluaws sill, a'r llall yn un sill, ac ni waeth pa un a roddir yn gyntaf, fel hyn:

"Haelaf hwyliad
O les i'w wlad."
G. Peris.

Yn y cyffredin, mae Deuair Byrion yn cael ei gysylltu â rhyw fesur arall, oblegid ei waeledd ynddo ei hun. Weithiau cysylltir ef â Thoddaid, weithiau â Deuair Hirion, neu Awdl Gywydd, megys y gellir gweled wrth ddarllen gweithiau ein Prif Feirdd.

Dwy fraich eto sydd mewn Deuair Hirion, a saith sill yn mhob un, y naill yn lluaws-sill, a'r llall un sill; a'r un a fyner wedi ei gosod yn gyntaf, a'u newid fel yr eler yn mlaen, os byddis yn dewis. Fel hyn:

"Duon oedd ei edyn ef
Yn llenwi yr holl wiwnef."
D. Ionawr.

Neu,

"A'r rhaiadr mawr yn rhuaw,
Canu ei glych cyn y gwlaw."
G. Peris.

Mae plethiad Deuair Hirion yn nodedig rywiog, a'i sain yn hynod felysber, yr hyn a'i gwna yn dra rhwydd ac esmwyth i'w darllen, a disgyna yn ddifyrlawn ar y glust.

*Cywydd Llosgyrnog* a gynwys ddwy fraich, neu ychwaneg, os dewisir, a rhaid rhoddi wyth sill yn mhob braich, a braich o losgwrn o saith sill yn nglyn âg ef, a chydodla ei *ganol* â phrifodl y breichiau blaenorol, a therfyna ei ddiwedd ar odl wahanol, fel hyn:

"Duw goreudeg a waredodd,
Ei dda weision a ddewisodd,
E rwyg*odd* y mawr eigion."

*Awdl Gywydd* a wneir i fyny o ddwy fraich, yn cynwys bob un saith sill, a chydodla yr orphwysfa yn yr ail linell â'r brifodl yn y llinell gyntaf, gan nad pa un ai lluaws-sill neu un sill a fyddo, fel hyn:

"Dygn adwyth digwyn y*doedd*,
Tros oes*oedd* tra y Saeson."
G. OWAIN.

Ni oddef ein terfynau i ni ymhelaethu ar Gywyddau, felly rhaid prysuro at *Awdlau.* Wyth mesur awdl, y sydd, sef Cyhydedd, Toddaid, Gwawdodyn, Hupynt, Cadwyn Fesur, Cyrch a Chwta, Clogyrnach, a Gorchest y Beirdd.

*Cyhydedd Fer* a gynwys bedair braich, a phob un yn wyth sill, ac yn cydodli, fel hyn:

"Aed, war enaid, aed, wr union,
Aed ragorwalch, diwair, gwirion,
I fro Iesu fry a'i weision
I'r gain gaerau â gwen goron."

*Cyhydedd Hir.* Mae y Gyhydedd Hir yn cynwys tair braich, pum' sill yn mhob un o'r ddwy gyntaf, a'r ddwy yn cydodli, a naw sill yn y drydedd fraich, a'r bumed sill ynddi yn cydodli â'r lleill, ond ei diwedd yn terfynu ar odl wahanol, fel y canlyn:

"Er astrus rwystrau
Dyrys flinderau
Gwrthwynebiadau, gwarth enbydus."

Mae genym eto i nodi *Toddaid* a chrybwyll am ei anhebgorion yntau. Cynwys Toddaid wrtho ei hun ddwy fraich; y gyntaf yn ddeg sill, a'r ail yn naw. Gwell yw cael yr orphwysfa ar y bumed sill, a dylai gydodli a'r gair cyrch, fel hyn:

"Mawl Iesu yw'r melyswin—pur wleddau
Nid arlwyadau dirol odin."
D. DDU.

Yr orphwysfa gyntaf yn y llinell hon a geir yn niwedd y gair An-feidr*awl*, a'r ail yn niwedd y gair, rygl*ydd**awl*, ac felly mae y ddau *awl* yn cydodli, ac mae yr *g l* mewn rhy*gl*yddawl yn bachu yn yr *g l* sydd mewn *gl*od, yn niwedd y fraich. Sain unodl y gelwir hon. Crybwylla Caledfryn yn y *Drych Barddonol* am sain lefn, megis

**"Mawredd bro Wynedd bur iach."**

Mae yr orphwysfa gyntaf ar *edd* yn niwedd y gair Mawredd; a'r ail ar *edd* yn niwedd y gair Wynedd. Ac mae y cydseiniaid *b r* yn bro a *b r* yn bur yn ateb i'w gilydd.

Sain gadwynog, fel hyn,

**Dyn y sydd yn adyn sal.**

Mae y *sydd* a'r *sal* yn ateb eu gilydd; ac mae *dyn* ac *adyn* o'r un sain gydodlawg.

Sain groes, fel hyn,

**Ior yn wiw Bor i ni bydd.**

Mae *Ior* a *Bor* yn cydodli; a'r *r* yn *Ior* yn ateb i'r *r* yn *Bor*, a'r *n* yn yr arddodyn *yn*, yn ateb i'r *n* yn *ini*, a'r *Bor* yn ateb i *bydd*.

Mae yr awdwyr a enwasom eisoes yn crybwyll hefyd am Sain wyrdro, Sain ddisgynedig, Sain bendroch, Sain ddyblyg, a Sain gudd. Cymerai ormod o'n gofod i ni roddi engreifftiau. Gall y darllenydd ymofyngar ymgynghori â Robert Davies, Nantglyn; Huw Tegai, a Chaledfryn, am unrhyw hysbysrwydd ychwanegol, ac ni chaiff ei siomi.

## RHYWIAU CERDD.

Byddai o werth i'r efrydydd ieuanc gymeryd sylw o Rywiau Cerdd; heb hyny ni bydd wrth geisio cyfansoddi, ond teithio anialwch dyrys, neu goedwig dywell, ac heb ddeall yn oleubwyll at ba bwynt i gyfeirio. Dylai rhyw y gerdd fod bob amser yn ateb i ansawdd y testyn. Trylwyr anmhriodol ac anweddus fyddai cyfansoddi galargerdd ar destyn gorfoleddus, neu arwrgerdd ar destyn syml, cyffredin a dibwys. Dywed y Doethawr Pugh, yn ei Ragdraith i Farddoniaeth Llywarch Hen, eiriau i'r perwyl hwn, "Rhywiau Cerdd, herwydd sylfon crebwyll, achaws ac ystyr; wyth rhyw y sydd: Cerdd Fawl; Cerdd Faneg, neu Hanesgerdd; Cerdd Addysg; Cerdd Anerch; Dyfalgerdd; Cerddalargwyn; Gogan, neu Ddychan a Sen; Hawl ac Ateb."

1. *Cerdd Fawl*, yw "Can o glod am orchestion a rhagorgampau." Mewn Mawlgerdd mae yn angenrheidiol i'r syniadau fod yn

bur, boneddigaidd a thynerfwyn; yr iaith fod yn hedegog a grymus, heb eiriau gweiniaid a diystyr; ac i'r mesur fod yn gyfryw ag a roddo gyfle i'r awen chwareu ei hedyn mewn awyr dryleu, oleu a heddychol. Gofaler rhag *gor*foliant a gwaseidd-dra chwerthinus.

2. *Cerdd Faneg*, neu *Hanesgerdd*, yw Cân yn rhoddi adroddiad teg a chywirbwyll o ryw ddygwyddiad hanesyddol; amcan y cyfryw yw rhoddi gwybodaeth a chyflwyno hyfrydwch mewn ymadroddion diwair, syml a destlus. Dylid bod yn ofalus i beidio llwytho y Gân ag adroddion diangenrhaid, na dwyn i mewn weithredoedd anmhriodol. Rhaid bod yn wyliadwrus i gyfleu pob dygwyddiad mewn lliw priodol, a gochel rhag myned dros derfynau y gwirionedd.

3. *Cerdd Addysg*, yw Cân yn dysgu "rhyw gainc a gwers ar ddoethineb, neu ryw wybodaeth a chelfyddyd." Gellir gweinyddu addysg naturiol, foesol neu grefyddol ar gerdd o'r rhyw dan sylw. Rhaid i'r iaith fod yn goeth, a'r meddwl yn loew, rhag i'r addysg gael ei dywyllu, a'r wybodaeth gael ei chuddio.

4. *Cerdd Anerch*, yw Cân i longyfarch, cysuro, neu adrodd rhyw genadwri. Gall hon gael ei chyfansoddi ar ddull llythyr, yr ymadroddion yn rhydd a chyfeillgar, ond yn gwbl barchus, gan ymgadw oddiwrth y chwyddedig ar y naill law, a'r iselwael ar y llall.

5. *Dyfalgerdd*, yw Cerdd Ddarluniadol, lle mae y crebwyll a'r darfelydd yn cael eu gosod ar lawn weithrediad i ddyfalu rhyw amgylchiad, a lliwio ei ddigwyddion mewn goleuni llachar ac ysblenydd. Yma y mae y dychymyg bywiog yn dyfod i'r golwg, a'i waith yw gosod ger bron olygfeydd o ysblander ac arucheledd mewn ymadroddion bywiog a pherlewygol.

6. *Galargerdd*, yw Cân o gwynfan neu hiraeth, oblegid anffawd, colled, neu ddrwg-ddygwyddiad. Ceir fod amryw fathau o alargerddi, megys *Galar serch*, *Galar achos colled*, *Galar ar ol cyfaill*, *Galar ar ol y marw*, *&c.*, *&c.* Mewn Cân o'r natur hyn, rhaid cael teimlad dwys, synied cywir, darfelydd bywiog, ac iaith dyner, doddedig, a llesmeiriol.

7. *Gogangerdd*, yw Cân Ddychan neu Sen. Dylid gofalu cadw allan bob cyfeiriadau personol, pigog, gan mai amcan y gerdd yw sathru drwg dan draed, a gwneyd bai yn atgas gan holl ddynolryw. Arf miniog yw ymath hwn o gerdd, ac nid yw i'w thrin ond gan ddwylaw celfydd.

I gaer ragorawl
Ac arfaeth gwirfawl
Amodawl ymadwedd."
S. VYCHAN.

*Cyrch a Chwta* y gelwir math arall o'r mesurau hyn, a chynwysa wyth braich o saith sill bob un, a'r chwe' braich gyntaf yn cydodli, ac odl y seithfed yn wahanol, ac yn cydodli â'r orphwysfa yn y fraich olaf fel awdlgywydd, a diwedd yr olaf yn cydodli â'r rhai cyntaf, fel hyn:

"Neud heb wagedd, tebygu
Mae ein seren gymen gu
I'r un hygar, wen, wiwgu
A'i threm ar Feth'lem a fu;
At y preseb wynebu
Wnai o bell dywell nos du;
Yr un modd mewn llwyrfodd llon
Tywysed hon at Iesu."
PEDR FARDD.

*Gorchest y Beirdd.* Cynwysa y mesur hwn dair braich, y ddwy gyntaf yn bedair sill bob un, ac yn odli wyneb a gwrthwyneb; a'r fraich ddiweddaf yn saith sill, a'r bedwaredd sill o honi yn cydodli â'r lleill; ac wedi ei phlethu yr un fath, a bydd diwedd y fraich hon yn odli yn wahanol, fel hyn:

"Mwynhad mewn hedd
O wlad y wledd
Wiwfad a fedd i fod fyth."
G. PERIS.

Pa fodd bynag, nis gallwn ni weled ryw lawer o *orchest* yn y mesur hwn.

*Cadwyn Fer.* Cynwysa Cadwyn Fer bedair braich, ac wyth sill yn mhob un, ac maent yn cydodli bob yn ail fraich, a phob braich yn cynghaneddu bob pedair sill, a rhaid i'r bedwaredd sill o'r drydedd fraich gydodli â'r bedwaredd sill o'r fraich gyntaf, a'r bedwaredd sill o'r fraich olaf gydodli â'r bedwaredd sill o'r ail, fel hyn:

"Iach y glaniodd uwch gelyniaeth
O dir alaeth daiarolion;
Hylaw diriodd i wladwriaeth
Yr uchafiaeth wir a chyfion."
G. PERIS.

*Tawddgyrch Cadwynog.* Cynwys y mesur hwn wyth braich o wyth sill bob un; y pedair braich gyntaf fel cadwyn fer, a'r pedair olaf fel hupynt hir; a rhaid i'r bedwaredd sill o'r bumed fraich fod

o'r un odl a'r bedwaredd sill o'r bedwaredd fraich, fel y cysyllter y ddau ddarn yn nghyd; a rhaid i'r sill ddiweddaf o'r chweched fraich, gydodli â'r ddiweddaf o'r bedwaredd fel y canlyn :

"Sain ddireswm sy'n ddyryswch ;
Gwn y gwyliwch ganau gwaelion :
Iaith a chwlwm eitha' chwiliwch,
O wyr! ceisiwch eiriau cyson :
Synwyr, cofiwch, yw'r prif harddwch,
A dymunwch wawdiau mwynion,
Byth nac ofnwch, ddiystyrwch
I'r byd cenwch, er bod cwynion."

P. FARDD.

Dyna i'r darllenydd ryw fras olwg ar Bedwar mesur ar hugain dosbarth Dafydd ab Edmwnt, fel y maent yn cael eu gosod allan yn y "Drych Barddonol." Diamheu y cenfydd rai o'r mesurau yn rhyw rithluniau digon diansawdd, ac y bydd yn barod i synu fod unrhyw orsedd farddol wedi ei gosod erioed yn awdurdodedig i gael eu harfer i ateb amgenach dyben na phorthi cywreinrwydd gwag a disylw. Wrth gyfansoddi awdl, mae y beirdd goreu yn dewis cynifer o'r mesurau hyn ag a farnont yn ddoethaf, ac yn cyfansoddi arnynt ; anaml y cyfansoddir ar yr oll o'r pedwar mesur ar hugain. Gan ein bod mewn gwlad *rydd*, cymered pawb o'n rhan ni eu rhyddid i ganu ar y mesurau fyddo da yn eu golwg. Meithriner yr Awen yn mysg ein cenedl tra dwfr yn rhedeg a haul yn tywynu, ond na wneler hyny ar draul esgeuluso gwybodaethau eraill o fuddioldeb mwy cyffredinol.

## TONYDDIAETH.

Dan y peniad hwn y cynwysir Aceniad, Pwyslais, Gostegau, a Goslef.

### I. ACENIAD.

Aceniad yw gosodiad y llais yn fwy pwysig a grymus ar ryw lythyren neu sill nac arall yn yr un gair. Y mae i bob gair lluossill un o'i silliau yn cael ei ddynodi rhagor y lleill, yn y dull hwn. Yn yr iaith Gymreig gosodir yr acen ar y sill olaf ond un o'r geiriau lluos eraill,—megys Llythyren, yr acen sydd ar y sill YR ; ond pan fyddo h yn dechreu y sill olaf, hi dyn yr acen ar hwnw,—megys Cadarnhau.

## II. PWYSLAIS.

Fel mae Aceniad yn gosod y llais yn fwy pwysig a grymus ar ryw lythyren neu sill mewn gair, felly y mae pwyslais yn gosod y llais yn fwy grymus ar ryw air pennodol mewn ymadrodd. Ar iawn osodiad y pwyslais y mae bywyd traethyddiaeth yn sefyll. Os na osodir pwyslais ar air yn y byd, nid yn unig fe fydd yr araeth yn hwyldrem a difywyd, eithr hefyd bydd y synwyr yn dywyll a phetrusol. Os camosodir y pwyslais, fe wyrdroir ac fe gymysgir yr ystyr yn llwyr. Gellir canfod hyn trwy enghraifft fel y canlyn: "A ddeui di gyda mi heddyw i'r dref?" Os gosodir y pwyslais ar 'di,' yr ateb fydd, Na ddeuaf 'fi,' ond fe ddaw 'fy ngwas.'" Os ar y gair 'gyda,' Ni ddeuaf fi, ond mi a âf 'wrthyf fy hun.' Os ar y gair 'mi,' Na ddeuaf fi, ond mi a âf gyda 'gwr arall.' Ond ar 'heddyw,' Na ddeuaf, ond mi a ddeuaf y 'fory.' Ond os ar y gair 'i'r dref,' yr ateb yw, Na ddeuaf fi, canys rhaid i mi fyned 'i'r wlad." Felly gellir gweled fod synwyr, grym, a harddwch ymadrodd yn sefyll ar osodiad y pwyslais ar y gair dyladwy.

Mewn gofyniad, y mae y pwyslais yn fynych ar y gair holedig; megys, 'Pwy a wnaeth hyn? Er hyny, nid felly y mae bob amser; megys Pwy a 'â drosom' ni? Pwy fu byw 'hwyaf?'

Mae rhai ymadroddion mor bwysfawr a chyflawn ag y dylid dodi y pwyslais ar amryw eiriau; megys, "O frodyr, gweddiwch drosom." "Paham y byddwch feirw?"

## III. GOSTEGAU.

Gostegau neu orphwysiadau, mewn llefaru neu ddarllen, ydyw hollol attaliad y llais dros ryw enyd, mwy neu lai. Mae y gostegau hyn mor angenrheidiol i'r llefarwr ag ydynt i'r gwrandawwr. I'r llefarwr, fel y cymero anadl i mewn i allu llywodraethu ei lais yn briodol, ac hefyd fel na byddo i beiriannau ymadrodd gael eu lluddedu yn ormodol: i'r gwrandawr hefyd y mae y gostegau yn ddymunol, fel na byddo i'w glyw gael ei ferwino trwy barhausder swn, ac fel y caffo y deall amser i wahaniaethu y brawddegau yn ddyladwy.

Mae dau fath o ostegau; sef, rhai pwys-ddodol, a rhai didoliaethol. Y rhai pwys-ddodol a ddefnyddir i alw sylw neillduol y gwrandawr pan fyddo rhyw beth o bwys mawr i gael ei draethu, neu newydd ei ddatgan eisioes. Wrth arferyd y fath yma, dylid gofalu bod yr hyn a draethir yn cynwys arbenigrwydd digonol, fel na siomer dysgwyliad y gwrandawr fel nas galler enill ei sylw yn y cyfryw amgylchiad drachefn.

Ond y gostegau mynychaf yw y rhai a wneir er didoli amrywiol gymalau y synwyr, a rhoddi cyfleusderau i'r llefarydd i gymeryd ei anadl. Mae iawn arferiad o'r rhai hyn yn galw am i holl synwyr y llefarydd gael ei roddi ar waith, rhag eu dodi yn y lleoedd nas dylid, ac felly ddidoli yr ymadroddion a fyddo yn gofyn y cysylltiaeth agosaf; ac ar y llaw arall, rhag peidio eu dodi mewn lleoedd cyfleus, ac felly fyned yn ddiffygiol o anadl digonol i nerthu y llais i iawn swnio yr ymadroddion. Camgymeriad mawr yw meddwl mai ar ddiwedd yr ymadroddion yn unig y mae cymeryd anadl; mae amledd o gyfleusderau eraill pan y gellir cymeryd digon i mewn, a hyny mewn mor lleied o amser fel na byddo unrhyw ddidoliad o niwed rhwng y geiriau; ac felly fod yn alluog i fyned yn yn mlaen yn ddiboen yr hyd a fyner.

## IV. GOSLEF.

Y mae Goslef i'w gwahaniaethu oddiwrth Bwyslais a Gosteg; fel ag y mae yn golygu cyweiriad y llais, yn ol yr amrywiol donau a arferir wrth dywallt allan syniadau y meddwl mewn ymadroddion. Nid ydyw y pwyslais yn effeithio ar ryw eiriau neu frawddegau; eithr y mae goslef yn effeithio ar adranau o'r araeth, ac weithiau yn rhedeg drwyddi oll. Pe traethem syniadau ein meddwl yn y geiriau cyfaddasaf i'w natur, a'r cwbl yn un res unllais, caem weled y byddai yr effaith a gaffai ar y gwrandawyr yn wahanol iawn i'r hyn a gaffai traethiad yr unrhyw yn yr un geiriau, ond gyda goslef briodol. Gan hyny, pan y byddom yn traethu ymadroddion dynion eraill, trwy eu darllen o lyfr, dylem eu hadrodd megys gan dybied eu hunain yn yr un amgylchiad, ac yn meddu yr un teimladau ag oedd gan eu hawdwyr.

Mae Goslef i gael ei haddasu, mewn mesur mawr, i natur y traethawd a ddarllener. Nid yw hanesiaeth uniongyrchol yn gofyn nemawr o amrywiaeth yn yr Oslef; ond traethodau, y rhai y byddo iddynt a wnelont a'r anwydau sydd yn gofyn mwyaf o amrywiaeth goslef: ac yn gyffredin y mae yr hyn a gyfeiriir at bob nwyd yn cael goslef briodol i'r nwyd hono; megys, i'r "serch," llais araf, per, a llednais; i'r "diglionedd," llais cyflym, garw a thanbaid; i'r "llawenydd," llais bywiog, hyawdl, a melusber; i'r "tristwch," llais gwanaidd, trist, ac wylofus; i "ofn," llais brawychus, llesg, a chrynedig; i "hyfdra," llais dewrwych, cadarn, a dyrchafedig; ac felly i bob tymher yn briodol i'w hanian.

# RHIFIADUR.

## ELFENAU RHIFYDDIAETH.

### Dosran I.—Nodiant.

Wrth Rifiadur y golygir llyfr yn cynwys y gyfundrefn rifyddol oll, fel celfyddyd a gwyddor; ac mae yn anhebgorol angenrheidiol i bob dyn ddeall rhifyddiaeth, i ryw raddau, cyn y gall gyflawni unrhyw swydd, wladol neu eglwysig, yn drefnus, cywir, a llwyddianus. Rhaid cyfrif gyda phob goruchwyliaeth, a chan nad oes ond naw o rifnodau mewn bod, gellid meddwl nas gall deall holl gysylltiadau y rhai hyny fod yn orchwyl dyrys iawn. Dyma y naw rhifnod: 1, 2, 3, 4, 5, 6, 7, 8, 9, 0. Nid yw y gwagnod yma 0 a ddefnyddir, ond arwydd o absenoldeb rhifnod sylweddol, perthynol i'r lle hwnw yn nghyfres y rhifnodau. Nid oes genym nod syml ac unplyg i osod allan ddeg o unau, ac oblegid hyny, defnyddir y rhifnod cyntaf, sef *un*, a rhoddir y gwagnod ar y dde iddo, a cheir 10. Cyn y gellir cynddrychioli rhif uwch mewn cyfrif na 10, rhaid taflu y gwagnod allan, a dechreu ail osod yr un rhifnodau, y naill ar ol y llall, a chadw yr 1 yn gyntaf i ddangos graddau y degau fel hyn: 11, un deg ac un; 12, un deg a dau; 13, un deg a thri; 14, un deg a phedwar; 15, un deg a phump; 16, un deg a chwech; 17, un deg a saith; 18, un deg ac wyth; 19, un deg a naw. Dyma ni yn awr o fewn un i gael dau ddeg, ac i osod y swm hwnw allan â rhifnod, cymerwn y 2, sef yr ail rifnod o'r gyfres wreiddiol, o herwydd mai dau ddeg sydd genym, a rhoddwn wagnod ar y dde, a chawn 20, neu ugain. Mewn trefn i fyned ris yn uwch mewn cyfrif, rhoddir 1 wrth ochr y ddau ddeg uchod, a chawn 21; yna deuant yn rheolaidd, 22, 23, 24; 25, 26, 27, 28, 29. Cymerir y rhifnod 3 i osod allan y trydydd deg, a rhoddir y rhifnodau eraill yr ochr dde iddo, fel hyn: 31, 32, 33, 34, 35, 36, 37, 38, 39, nes y deuwn i ddeugain, yr hwn a ffurfir drwy roddi gwagnod ar yr ochr dde i'r rhifnod 4, i ddangos mai pedwar deg a olygir. Parheir i fyned yn mlaen yr un modd, nes y ceir 99, naw deg a naw; yna defnyddir yr *un* gwreiddiol, gyda dau wagnod ar yr ochr dde, i osod allan gant, 100. Cynyddir y rhifnod hwn eto yn yr un modd, drwy osod y naw rhifnod gwreiddiol ar y dde; a gellir eu cario yn mlaen i unrhyw bellder a ddewisir.

Mae rheolau sylfaenol rhifyddiaeth yn chwech mewn rhifedi, sef y rhai canlynol:

I. Nodiant (*Notation.*)
II. Rhifiant (*Numeration.*)
III. Cynodiaeth (*Addition.*)
IV. Erthyniaeth (*Subtraction.*)
V. Lluosiaeth (*Multiplication.*)
VI. Cyfraniaeth (*Division.*)

Tardda holl reolau eraill rhifyddiaeth allan o'r rhai yna, ac yn enwedig o'r pedair olaf, y rhai ydynt sylfaeni y wyddor.

## Dosran II.—Rhifiant.

| *Yr Hen Drefn.* | *Y Drefn Newydd.* | *Rhifnodau.* | |
|---|---|---|---|
| Un | Un | 1 | I |
| Dau | Dau | 2 | II |
| Tri | Tri | 3 | III |
| Pedwar | Pedwar | 4 | IV |
| Pump | Pump | 5 | V |
| Chwech | Chwech | 6 | VI |
| Saith | Saith | 7 | VII |
| Wyth | Wyth | 8 | VIII |
| Naw | Naw | 9 | IX |
| Deg | Deg | 10 | X |
| Unarddeg | Degun | 11 | XI |
| Deuddeg | Degdau | 12 | XII |
| Triarddeg | Degtri | 13 | XIII |
| Pedwararddeg | Degpedwar | 14 | XIV |
| Pymtheg | Degpump | 15 | XV |
| Unarbymtheg | Degchwech | 16 | XVI |
| Dauarbymtheg | Degsaith | 17 | XVII |
| Triarbymtheg | Degwyth | 18 | XVIII |
| Pedwarbymtheg | Degnaw | 19 | XIX |
| Ugain | Deuddeg | 20 | XX |
| Degarugain | Trideg | 30 | XXX |
| Deugain | Pedwardeg | 40 | XL |
| Deg a deugain | Pumdeg | 50 | L |
| Triugain | Chwedeg | 60 | LX |
| Deg a thriugain | Saithdeg | 70 | LXX |
| Pedwar ugain | Wythdeg | 80 | LXXX |
| Deg a phedwar ugain | Nawdeg | 90 | XC |
| Cant | Cant | 100 | C |
| Dau cant | Dau cant | 200 | CC |
| Tri chant | Tri chant | 300 | CCC |
| Pedwar cant | Pedwar cant | 400 | CCCC |
| Pump cant | Pump cant | 500 | D |
| Chwech cant | Chwech cant | 600 | DC |
| Saith cant | Saith cant | 700 | DCC |
| Wyth cant | Wyth cant | 800 | DCCC |
| Naw cant | Naw cant | 900 | DCCCC |
| Mil | Mil | 1000 | M |

Wrth rifiant y golygir y drefn i ddarllen ffigyrau neu rifnodau, ac i ddeall swm, neu rifedi o unau, degau, canoedd a miloedd, a gynddrychiolir â nifer o rifnodau cysylltiedig â'u gilydd. Mae o'r angenrheidrwydd mwyaf i'r efrydydd fod yn dra manwl wrth ddarllen ac astudio yr adran hon, oblegid y mae yn hollol anmhosibl deall rhifyddiaeth cyn dysgu darllen rhifnodau. Dywedwyd yn barod nad oes ond naw o lythyrenau sylfaenol mewn rhifyddiaeth, ac un gwagnod. Mae pawb, felly, yn medru yr egwyddor rifyddol, a'r pwnc nesaf yw dysgu *sillebu* symiau rhifyddol. Rhaid cael dau rhifnod i sillebu deg, tri i sillebu cant, pedwar i sillebu mil, pump i sillebu deng mil, a chwech i sillebu can' mil. Dyma 12, deg a dau, yn cynwys dau rifnod. Rhodder un rhifnod yn rhagor i wneyd tri, a cheir 123, sef cant, dau ddeg a thri. Rhodder un eto ar yr ochr dde, a chynydda i 1234, sef mil, dau gant, tri deg a phedwar. Eto, os ychwanegir rhifnod arall, chwydda y swm i 12,345, sef deuddeng mil, tri chant, pedwar deg a phump. Os rhoddir un rhifnod eto i wneyd chwech, daw yr holl swm yn 123,456, sef cant, dau ddeg a thri o filoedd, pedwar cant, pum' deg a chwech. Gwelir oddiwrth yr uchod fod cyfres o rifnodau yn cynyddu o'r ochr dde i'r ochr aswy, ac mae yn rhaid eu darllen yn y cyfeiriad hwnw, er cael allan faintioli y swm.

TAFLEN I.

| | | |
|---|---|---|
| Cwintiliwnau.. | 1 | Canoedd o gwintiliwnau. |
| | 2 | Degau o gwintiliwnau. |
| | 3, | Cwintiliwn. |
| Cwadriliwnau.. | 4 | Canoedd o gwadriliwnau. |
| | 5 | Degau o gwadriliwnau. |
| | 6, | Cwadriliwn. |
| Triliwnau...... | 7 | Canoedd o driliwnau. |
| | 8 | Degau o driliwnau. |
| | 9, | Triliwn. |
| Biliwnau....... | 1 | Canoedd o biliwnau. |
| | 2 | Degau o biliwnau. |
| | 3, | Biliwn. |
| Miliwnau....... | 4 | Canoedd o filiwnau. |
| | 5 | Degau o filiwnau. |
| | 6, | Miliwn. |
| Miloedd........ | 7 | Canoedd o filoedd. |
| | 8 | Degau o filoedd. |
| | 9, | Miloedd. |
| Canoedd....... | 1 | Canoedd, |
| | 2 | Degau. |
| | 3 | Unau. |

Dengys y daflen uchod, mor bell ag y mae yn myned, y modd i ddarllen rhifnodâu mewn trefn i gael allan raddau y rhif mwyaf ar y llaw chwith. Gwelir fod yn y rhes saith o raddau, a thri rhifnod yn mhob gradd, a'u henwau yn yr ochr isaf, y rhai hefyd a adroddir bob yn un ac un ar yr ochr uchaf. Y mae y rhifres uchod i'w darllen fel hyn: Cant, dau ddeg a thri o gwintiliwnau; pedwar cant, pum' deg a chwech o gwadriliwnau; saith gant, wyth deg a naw o driliwnau; cant, dau ddeg a thri o biliwnau; pedwar cant, pum' deg a chwech o filiwnau; saith gant, wyth deg a naw o filoedd a chant dau ddeg a thri.

Yr ydym yn Cymreigyddio ychydig ar enwau Seisonig gwahanol raddau y rhifnodau, gan gredu y byddant yn fwy dealladwy felly, ac fe ddichon hefyd yn fwy defnyddiol yn y wlad hon, na phe rhoddem yr hen enwau Cymreig. Rhoddir y daflen ganlynol yn ol yr hen drefn Gymreig, er mwyn y rhai a ddichon ei hoffi.

TAFLEN II.

| | |
|---|---|
| 1 | Canoedd o bumgradd milfil. |
| 2 | Degau o bumgradd milfil. |
| 3 | Pumgradd milfil. |
| 4 | Myrddiynau o bedairgradd milfil. |
| 5 | Myroedd o bedairgradd milfil. |
| 6 | Miloedd o bedairgradd milfil. |
| 7 | Canoedd o bedairgradd milfil. |
| 8 | Degau o bedairgradd milfil. |
| 9 | Pedair gradd milfil. |
| 1 | Myrddiynau o dairgradd milfil. |
| 2 | Myrddoedd o dairgradd milfil. |
| 3 | Miloedd o dairgradd milfil. |
| 4 | Canoedd o dairgradd milfil. |
| 5 | Degau o dairgradd milfil. |
| 6 | Tairgradd milfil. |
| 7 | Myrddiynau o ddwyradd milfil. |
| 8 | Myrddoedd o ddwyradd milfil. |
| 9 | Miloedd o ddwyradd milfil. |
| 1 | Canoedd o ddwyradd milfil. |
| 2 | Degau o ddwyradd milfil. |
| 3 | Dwyradd milfil. |
| 4 | Myrddiynau o filfil. |
| 5 | Myrddoedd o filfil. |
| 6 | Miloedd o filfil. |
| 7 | Canoedd o filfil. |
| 8 | Degau o filfil. |
| 9 | Milfil. |
| 1 | Myrddiynau. |
| 2 | Myrddoedd. |
| 3 | Miloedd. |
| 4 | Canoedd. |
| 5 | Degau. |
| 6 | Unau. |

Mae y dosbarthiad Cymreig uchod yn ymddangos yn lled ddyrys o herwydd meithder y gwahanol raddau; canys y mae yn amlwg fad y milfil yn ffurfio unau dwyradd milfil, a dwyradd milfil yn cyfansoddi unau tairgradd milfil, &c. Ymddengys fod un rhinwedd arbenigol yn y gyfundrefn Gymreig, sef ei chyfaddasrwydd i arddangos unrhyw nifer o rifnodau, ond cynyddu y graddau yn gyfartal. Mae rhifyddwyr y Talaethau Unedig wedi mabwysiadu

trefn y Ffrancod yn lled gyffredinol, a'r drefn hon a ddysgir yn holl ysgolion ein gwlad. Y mae fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| 123, | Figintilionau. |
| 456, | Nofemdesilonau. |
| 789, | Octodesilionau. |
| 123, | Septendesilionau. |
| 456, | Secsdesilionau. |
| 789, | Cwindesilionau. |
| 123, | Cwatuordesilionau. |
| 456, | Tudesilionau. |
| 789, | Duodesilionau. |
| 123, | Undesilionau. |
| 456, | Desilionau. |
| 789, | Nonilionau. |
| 123, | Octiliwnau. |
| 456, | Septiliwnau. |
| 789, | Sectiliwnau. |
| 123, | Cwintiliwnau. |
| 456, | Cwadriliwnau. |
| 789, | Triliwnau. |
| 123, | Biliwnau. |
| 456, | Miliwnau. |
| 789, | Miloedd. |
| 123, | Unau. |

Fel y canlyn y darllenir swm y rhifres hon. Cant a thri ar hugain o figintilionau, pedwar cant ac un ar bymtheg a deugain o nofemdisilionau, saith gant a phedwar ar bymtheg a phedwar ugain o octodesilionau, cant a thri ar hugain o septendesilionau, pedwar cant ac un ar bymtheg a deugain o secsdesilionau, saith gant a phedwar ar bymtheg a phedwar ugain o cwindesilionau, cant a thri ar hugain o cwatuordesilionau, pedwar cant ac un ar bymtheg a deugain o dridesilionau, saith gant a phedwar ar bymtheg a phedwar ugain o ddnodesilionau, cant a thri ar hugain o undesilionau, pedwar cant ac un ar bymtheg a deugain o ddesilionau, saith gant a phedwar ar bymtheg a phedwar ugain o nonilionau, cant a thri ar hugain o octiliwnau, pedwar cant ac un ar bymtheg a deugain o septiliwnau, saith gant a phedwar ar bymtheg a phedwar ugain o sectiliwnau, cant a thri ar hugain o gwintiliwnau, pedwar cant ac un ar bymtheg a deugain o gwadriliwnau, saith gant a phedwar ar bymtheg a phedwar ugain o driliwnau, cant a thri ar hugain o biliwnau, pedwar cant ac un ar bymtheg a deugain o filiwnau, saith gant a phedwar ar bymtheg a phedwar ugain o filoedd, a chant a thri ar hugain o unau.

## Dosran III.—Cynodiaeth.

Wrth gynodiaeth y golygir y drefn i roddi gwahanol rifnodau yn nghyd, er cael allan gyfanswm yr oll. Mae deall cynodiaeth yn wir angenrheidiol i bawb yn mhob galwedigaeth, ac nid oes eisiau ond ychydig o efrydiaeth mewn trefn i ddyfod yn hyddysg yn y rheolau. Os derbynir $21 gan un, a $41 gan y llall, pa fodd y ceir allan y cyfanswm? Mae yn ddigon hawdd dweyd yn y meddwl faint yw y cyfanswm, ond y pwnc yw pa fodd y gosodir y symiau yn rheolaidd i'w cynodi? Wel, gwneler fel hyn:

21 Wedi rhoddi rhifnodau i lawr fel yna, y naill o dan y
41 llall, yr unau o dan yr unau a'r degau o dan y degau, a
— rhedeg llinell o danynt, dyweder wrth ddechreu fel hyn:
62 Un ac un a wnant ddau, a rhodder y ddau i lawr yn union o dan yr unau; yn nesaf, cymerer y llinell arall, a dyweder, pedwar a dau a wnant chwech, ac ysgrifener y chwech i lawr yr ochr chwith i'r ddau flaenorol, a bydd y swm yn $62. Dyna y gwaith wedi ei orphen. Golyger fod gan ryw berson y symiau canlynol ar ei lyfr cyfrifon, 231, 462, 798—pa fodd y mae in i gael allan y cyfanswm? Rhodder y gwahanol symiau i lawr y naill o dan y llall, fel ag y gwnaed yn yr esiampl flaenorol.

231 Dechreuer yn y gwaelod ar yr ochr dde gyda'r unau,
462 a chynoder y rhifnodau i fyny fel hyn: Wyth a dau a
798 wnant ddeg, ac un a wna un ar ddeg, sef deg ac un.
—— Rhodder yr un i lawr yn union o dan yr wyth ar yr ochr
1491 dde, a charier y deg at y naw, sef y rhif isaf yn y llinell ganol, a dyweder: Un a naw a wnant ddeg, a chwech a wnant un ar bymtheg, a thri a wnant bedwar ar bymtheg; yna rhodder y naw i lawr, a charier y deg eto at y saith i waelod y rhes ar yr ochr chwith, a dyweder: Un a saith a wnant wyth, a phedwar a wnant ddeuddeg, a dau a wnant bedwar ar ddeg, a rhodder y cwbl i lawr, sef swm yr holl rifnodau yn nghyd.

Dealled yr efrydydd na roddir i lawr ond yr unau yn mhob colofn, a charir y degau yn barhaus i'r golofn nesaf ar y llaw chwith; ac os bydd swm un golofn yn ugain, carir dau; yn ddeg ar hugain, carir tri; yn ddeugain, carir pedwar, &c. Mae yn debyg y bydd cario y degau i'r golofn nesaf, yn ymddangos yn ddyryslyd i'r efrydydd ieuanc; ond dealler fod yn ofynol rhoddi unau gydag unau, degau gyda degau, a chanoedd gyda chanoedd, cyn y gellir cynodi unrhyw swm yn gywir. Gellir rhoddi y symiau i lawr yn

I gaer ragorawl
Ac arfaeth gwirfawl
Amodawl ymadwedd."
S. VYCHAN.

*Cyrch a Chwta* y gelwir math arall o'r mesurau hyn, a chynwysa wyth braich o saith sill bob un, a'r chwe' braich gyntaf yn cydodli, ac odl y seithfed yn wahanol, ac yn cydodli â'r orphwysfa yn y fraich olaf fel awdlgywydd, a diwedd yr olaf yn cydodli â'r rhai cyntaf, fel hyn:

"Neud heb wagedd, tebygu
Mae ein seren gymen gu
I'r un hygar, wen, wiwgu
A'i threm ar Feth'lem a fu;
At y preseb wynebu
Wnai o bell dywell nos du;
Yr un modd mewn llwyrfodd llon
Tywysed hon at Iesu."
PEDR FARDD.

*Gorchest y Beirdd.* Cynwysa y mesur hwn dair braich, y ddwy gyntaf yn bedair sill bob un, ac yn odli wyneb a gwrthwyneb; a'r fraich ddiweddaf yn saith sill, a'r bedwaredd sill o honi yn cydodli â'r lleill; ac wedi ei phlethu yr un fath, a bydd diwedd y fraich hon yn odli yn wahanol, fel hyn:

"Mwynhad mewn hedd
O wlad y wledd
Wiwfad a fedd i fod fyth."
G. PERIS.

Pa fodd bynag, nis gallwn ni weled ryw lawer o *orchest* yn y mesur hwn.

*Cadwyn Fer.* Cynwysa Cadwyn Fer bedair braich, ac wyth sill yn mhob un, ac maent yn cydodli bob yn ail fraich, a phob braich yn cynghaneddu bob pedair sill, a rhaid i'r bedwaredd sill o'r drydedd fraich gydodli â'r bedwaredd sill o'r fraich gyntaf, a'r bedwaredd sill o'r fraich olaf gydodli â'r bedwaredd sill o'r ail, fel hyn:

"Iach y glaniodd uwch gelyniaeth
O dir alaeth daiarolion;
Hylaw diriodd i wladwriaeth
Yr uchafiaeth wir a chyfion."
G. PERIS.

*Tawddgyrch Cadwynog.* Cynwys y mesur hwn wyth braich o wyth sill bob un; y pedair braich gyntaf fel cadwyn fer, a'r pedair olaf fel hupynt hir; a rhaid i'r bedwaredd sill o'r bumed fraich fod

o'r un odl a'r bedwaredd sill o'r bedwaredd fraich, fel y cysyllter y ddau ddarn yn nghyd; a rhaid i'r sill ddiweddaf o'r chweched fraich, gydodli â'r ddiweddaf o'r bedwaredd fel y canlyn :

"Sain ddireswm sy'n ddyryswch ;
Gwn y gwyliwch ganau gwaelion :
Iaith a chwlwm eitha' chwiliwch,
O wyr! ceisiwch eiriau cyson :
Synwyr, cofiwch, yw'r prif harddwch,
A dymunwch wawdiau mwynion,
Byth nac ofnwch, ddiystyrwch
I'r byd cenwch, er bod cwynion."

P. FARDD.

Dyna i'r darllenydd ryw fras olwg ar Bedwar mesur ar hugain dosbarth Dafydd ab Edmwnt, fel y maent yn cael eu gosod allan yn y "Drych Barddonol." Diamheu y cenfydd rai o'r mesurau yn rhyw rithluniau digon diansawdd, ac y bydd yn barod i synu fod unrhyw orsedd farddol wedi ei gosod erioed yn awdurdodedig i gael eu harfer i ateb amgenach dyben na phorthi cywreinrwydd gwag a disylw. Wrth gyfansoddi awdl, mae y beirdd goreu yn dewis cynifer o'r mesurau hyn ag a farnont yn ddoethaf, ac yn cyfansoddi arnynt; anaml y cyfansoddir ar yr oll o'r pedwar mesur ar hugain. Gan ein bod mewn gwlad *rydd*, cymered pawb o'n rhan ni eu rhyddid i ganu ar y mesurau fyddo da yn eu golwg. Meithriner yr Awen yn mysg ein cenedl tra dwfr yn rhedeg a haul yn tywynu, ond na wneler hyny ar draul esgeuluso gwybodaethau eraill o fuddioldeb mwy cyffredinol.

## TONYDDIAETH.

Dan y peniad hwn y cynwysir Aceniad, Pwyslais, Gostegau, a Goslef.

### I. ACENIAD.

Aceniad yw gosodiad y llais yn fwy pwysig a grymus ar ryw lythyren neu sill nac arall yn yr un gair. Y mae i bob gair lliossill un o'i silliau yn cael ei ddynodi rhagor y lleill, yn y dull hwn. Yn yr iaith Gymreig gosodir yr acen ar y sill olaf ond un o'r geiriau lluos eraill,—megys Llythyren, yr acen sydd ar y sill YR ; ond pan fyddo h yn dechreu y sill olaf, hi dyn yr acen ar hwnw,—megys Cadarnhau.

ol; canys anmhosibl yw tynu y mwyaf allan o'r lleiaf. Wele esiampl:

8542 *mwyaf.*
3367 *lleiaf.*
——
6175 *gwahaniaeth.*

Wrth ddechreu ar y llaw dde, gwelir fod yn anmhosibl tynu 7 o 2, gan hyny benthycer 1 o'r 4 sef y rhif agosaf i'r 2, ac felly ffurfir 12, yn y meddwl; yna dyweder 7 o 12 a edy 5 yn weddill, a rhodder y 5 i lawr ar y llaw dde. Yn nesaf, galwer y 4 y benthycwyd 1 o hono yn 3, a chan na ellir tynu 6 o 3, benthycer un o'r 5, ar y llaw chwith, a ffurfir 13; yna dyweder, 6 o 13 a edy 7 a rhodder y 7 i lawr ar y chwith i'r 5 cyntaf. Yn y lle nesaf, mae 3 i'w dynu o 5, ond gan i ni fenthyca 1 o'r 5 i wneyd y 13 diweddaf, galwer y 5 un yn llai, sef 4, a dyweder, 3 o 4 a edy 1 yn weddill. Ac yn ddiweddaf oll, dyweder, 2 o 8 a edy 6, yr hyn sydd yn gorphen y gwaith. Oddiwrth a ddywedwyd, rhoddir a ganlyn:

### RHEOL I ERTHYNU RHIFNODAU.

**1af.** Rhodder y rhif mwyaf yn uchaf, a'r lleiaf dano, fel y saf unau dan unau, degau dan ddegau, canoedd dan ganoedd, &c., yna rheder llinell danynt.

2il. Erthyner, neu dyner allan yr unau, o golofn yr unau, yn y rhes uchaf pan y gellir gwneyd hyny, a rhodder y gwahaniaeth yn unionsyth dan yr unrhyw—yna gwneler yr un modd gyda phob colofn, a rhodder y gweddill i lawr o dan y colofnau priodol.

3ydd. Pan fyddo y rhifnod yn y rhes isaf yn fwy na'r un uchaf, benthycer un ato o'r rhif nesaf ar yr ochr chwith yn yr un rhes, nes ei gynyddu â deg—yna tyner y rhifnod isaf o'r rhifnod ffurfiedig yn y dull a nodwyd, a rhodder y gwahaniaeth i lawr, fel o'r blaen.

4ydd. Taler yr un a fenthycwyd yn ol i'r rhifnod nesaf, yn y rhes isaf ar y llaw chwith, a galwer hwnw yn fwy o un, ac wedi hyny gweithier yn mlaen yn yr un modd hyd nes y gorphener y gwaith.

Mae yn amlwg oddiwrth natur erthyniaeth, fod y cwbl yn gynwysedig mewn cael allan y gwahaniaeth rhwng dau rif, neu res o rifnodau; ac mae y gwahaniaeth, wedi ei roddi at y rhifnod lleiaf, yn ffurfio swm cyfartal i'r rhifnod mwyaf.

### ESIAMPLAU YMARFEROL.

| | I. | II. | III. |
|---|---|---|---|
| *Allan o* | 10000000 | 99999999 | 888888 |
| *Tyner* | 9099019 | 1000919 | 99999 |
| *Ateb.* | 900981 | 98999080 | 788889 |

| | IV. | V. |
|---|---|---|
| *Allan o* | 100200300400500 | 600700800900 |
| *Tyner* | 90807060504039 | 191818917185 |
| *Ateb.* | 9393239896461 | 408881883715 |

## Dosran V.—Lluosiaeth.

Wrth y gair lluosiaeth y golygir y drefn i luosogi un rhif â rhif arall, neu gymeryd y rhif mwyaf yr un nifer o weithiau ag fydd o unau yn y rhif lleiaf, yr hyn sydd gyfartal i gynodi y rhif hwnw yr un nifer o weithiau. Os lluosogir 12 â 2, dywedir fod dwy waith deuddeg yn bedwar ar hugain, yr hyn sydd gyfartal i gynodi yr un rhifnod fel hyn :

12
12
—
24

Gwelir fod 24 yn cael ei gynyrchu yr un modd. Os lluosir 12 â 4, dyweder fod pedair gwaith deuddeg yn wyth a deugain, yr hyn a eglurir eto trwy gynodi pedwar deuddeg yn y modd yma :

12
12
12
12
—
48

Oddiwrth hyn gwelir fod lluosiaeth yn fyrach a mwy cryno na chynodiaeth, er nad oes gwahaniaeth hanfodol yn eu natur. Mae lluosiaeth yn cynwys tair rhan, y rhai y mae yn angenrheidiol i'r efrydydd eu deall yn eu holl gysylltiadau, sef y lluosogai, neu y rhif mwyaf; y lluosydd, neu y rhif lleiaf, a'r cynyrch, neu yr atebiad. Wrth luosogi, mae yn ofynol lluosogi y lluosogai â phob rhifnod yn y lluosogydd, a gosod y cynyrchion i lawr yn rheolaidd.

Gweithred'ad.

2462 *lluosogai.*
212 *lluosogydd.*
——
4924 *cynyrch y* 2.
2462 *cynyrch yr* 1.
4924 *cynyrch y* 2.
———
521944 *cynyrch y cyfan.*

Sylwer ar y gwaith hwn a cheir ein bod yn dechreu lluosogi gyda'r 2 ar y llaw dde, gan ddweyd dwy waith dau a wnant bedwar, a rhodder pedwar i lawr ar yr ochr dde, yn uniongyrch o dan y rhifnod 2; yna dyweder, dwy waith chwech a wnant ddeuddeg, a rhodder dau i lawr, a charier yr un, neu y deg, i'r golofn nesaf, a dyweder dwy waith pedwar a wnant wyth, a'r un deg a wna naw, a rhodder y naw i lawr; ac yn ddiweddaf, dyweder dwy waith dau a wnant bedwar, ac ysgrifener pedwar i lawr ar y llaw chwith. Dyna y lluosogai wedi ei luosogi â'r unau yn y lluosogydd, a'r cy-

nyrch wedi ei osod i lawr; a chan mai un yw y rhif nesaf yn y lluosydd, rhaid cymeryd y lluosogai unwaith, yr hwn a osodir i lawr fel cynyrch yr un. Y rhifnod olaf yn y lluosydd yw dau, a lluosoger gyda hwn yr un modd ag y gwnaed yn y dechreu; yna cynoder y cynyrchion, a bydd y gwaith wedi ei orphen. Daw amgylchiadau pan y bydd gwagnodau yn y rhifnodau i'w lluosogi, a gall yr efrydydd gael ei ddyrysu gan y rhai hyny, os na fydd yn fanwl i gofio, fod yn ofynol i'r atebiad gynwys yr un nifer o wagnodau ar y llaw dde ag a fydd yn y lluosogai a'r lluosogydd yn nghyd. Mae yn amlwg os lluosogir 400 â 300, y meddylir cymeryd pedwar cant dri chant o weithiau, a'r atebiad fydd 12 a phedwar o wagnodau ar y llaw dde iddo, fel hyn: 120,000. Gan hyny, lluosoger y rhifnodau penodol yn nghyd, ac ychwaneger yr un nifer o wagnodau at yr un atebiad ag a fydd yn y lluosogai a'r lluosydd yn nghyd.

ESIAMPLAU YMARFEROL.

| | |
|---|---|
| 7532000 *lluosogai.* | 416000 *lluosogai.* |
| 580 *lluosydd.* | 357000 *lluosydd.* |
| 4368560000 *atebiad.* | 148512000000 *atebiad.* |

Gwelir oddiwrth yr uchod fod yr atebiadau yn cynwys y gwagnodau perthynol i'r rhifnodau a luosogwyd yn nghyd. Pan ddygwydda gwagnod yn nghanol y lluosydd, rhaid myned heibio iddo, a gosod cynyrch y rhifnod nesaf un golofn yn nes i'r ochr chwith, fel ag y gwelir yn yr esiampl ar y dde;

Mae yn amlwg oddiwrth yr esiampl gerllaw, nad yw y gwagnod yn cynyddu dim ar y rhifnodau, ond yn unig yn cadw lle rhifnod. Ymddengys hyny yn amlycach oddiwrth yr isod.

| | |
|---|---|
| 4236 | *lluosogai.* |
| 203 | *lluosydd.* |
| 859908 | *atebiad.* |

| | |
|---|---|
| 4236 | *lluosogai.* |
| 203 | *lluosydd.* |
| 12708 | *cynyrch* 3. |
| 0000 | *cynyrch* 0. |
| 8472 | *cynyrch* 2. |
| 859908 | *Atebiad.* |

Wedi lluosogi â'r gwagnod, os priodol yr ymadrodd, nid yw y cynyrch yn fwy nag yn yr esiampl gyntaf, pryd yr aed heibio i'r gwagnod, oddiwrth yr hyn y gwel yr efrydydd ei swyddogaeth. Mae yn ddigon amlwg oddiwrth a ddywedwyd fod rhoddi gwagnod wrth ochr dde unrhyw rifnod yn ei luosogi â deg; dau wagnod yn ei luosogi â chant, tri â mil. Gan hyny, ni raid wrth luosogi â 10, 100, neu 1000, ond ysgrifenu y gwagnodau wrth ochr dde y rhifnodau.

### RHEOL GYFFREDINOL.

Gosoder y lluosogai, neu y rhif mwyaf, i lawr yn gyntaf; yna rhodder y rhif lleiaf o dano, ar y llaw dde, fel y safo unau dan unau, canoedd dan ganoedd, &c., a rheder llinell danynt, a dechreuer lluosogi y lluosogai â'r rhif llaw.dde yn y lluosogydd, a gosoder y cynyrch i lawr yn rheolaidd, gan gario y degau i'r rhif nesaf ar y llaw chwith. Lluosoger yr un modd â phob rhifnod yn y lluosogydd, ac wedi rhedeg llinell dan y cynyrchion cynoder y cwbl mewn dull rheolaidd, yn ol ein heglurhad blaenorol dan y pen Cynodiaeth.

Bydded i'r efrydydd roddi prawf ar ei wybodaeth a'i fedrusrwydd mewn lluosiaeth, drwy weithio allan yr esiamplau canlynol, a chydmared ei âtebiadau â'r rhai argraffedig:

### ESIAMPLAU YMARFEROL.

Lluosoger 31235678 gyda 10203. *At.* 318697622634.
Lluosoger 6176777 gyda 22222. *At.* 137260338494.
Lluosoger 40670007 gyda 10002. *At.* 406781410014.
Lluosoger 75432 gyda 47. *At.* 3545304.
Lluosoger 101010101 gyda 2020202. *At.* 204060808060402.

Os cerddir 37 milltir mewn diwrnod, pa mor bell y cerddir mewn 365 o ddyddiau? *At.* 13505 *milltir.*

Os hwylir mewn llong 169 milltir mewn diwrnod, pa mor bell yr hwylir mewn 144 o ddyddiau? *At.* 24336 *milltir.*

Lluosoger 9000006 gyda 9000006. *At.* 81000108000036.

### TAFLEN LLUOSIAETH.

Bydded i'r efrydydd ddysgu y daflen isod yn drwyadl ar dafod laferydd; ac wedi unwaith ei thrysori yn y cof yn fanwl, erys ynol

| | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Unwaith | 0 | yw | 0 | 3 gwaith | 0 | yw | 0 | 5 gwaith | 0 | yw | 0 |
| Unwaith | 1 | yw | 1 | 3 gwaith | 1 | yw | 3 | 5 gwaith | 1 | yw | 5 |
| Unwaith | 2 | yw | 2 | 3 gwaith | 2 | yw | 6 | 5 gwaith | 2 | yw | 10 |
| Unwaith | 3 | yw | 3 | 3 gwaith | 3 | yw | 9 | 5 gwaith | 3 | yw | 15 |
| Unwaith | 4 | yw | 4 | 3 gwaith | 4 | yw | 12 | 5 gwaith | 4 | yw | 20 |
| Unwaith | 5 | yw | 5 | 3 gwaith | 5 | yw | 15 | 5 gwaith | 5 | yw | 25 |
| Unwaith | 6 | yw | 6 | 3 gwaith | 6 | yw | 18 | 5 gwaith | 6 | yw | 30 |
| Unwaith | 7 | yw | 7 | 3 gwaith | 7 | yw | 21 | 5 gwaith | 7 | yw | 35 |
| Unwaith | 8 | yw | 8 | 3 gwaith | 8 | yw | 24 | 5 gwaith | 8 | yw | 40 |
| Unwaith | 9 | yw | 9 | 3 gwaith | 9 | yw | 27 | 5 gwaith | 9 | yw | 45 |
| Unwaith | 10 | yw | 10 | 3 gwaith | 10 | yw | 30 | 5 gwaith | 10 | yw | 50 |
| Unwaith | 11 | yw | 11 | 3 gwaith | 11 | yw | 33 | 5 gwaith | 11 | yw | 55 |
| Unwaith | 12 | yw | 12 | 3 gwaith | 12 | yw | 36 | 5 gwaith | 12 | yw | 60 |

| | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 2 waith | 0 | yw | 0 | 4 gwaith | 0 | yw | 0 | 6 gwaith | 0 | yw | 0 |
| 2 waith | 1 | yw | 2 | 4 gwaith | 1 | yw | 4 | 6 gwaith | 1 | yw | 6 |
| 2 waith | 2 | yw | 4 | 4 gwaith | 2 | yw | 8 | 6 gwaith | 2 | yw | 12 |
| 2 waith | 3 | yw | 6 | 4 gwaith | 3 | yw | 12 | 6 gwaith | 3 | yw | 18 |
| 2 waith | 4 | yw | 8 | 4 gwaith | 4 | yw | 16 | 6 gwaith | 4 | yw | 24 |
| 2 waith | 5 | yw | 10 | 4 gwaith | 5 | yw | 20 | 6 gwaith | 5 | yw | 30 |
| 2 waith | 6 | yw | 12 | 4 gwaith | 6 | yw | 24 | 6 gwaith | 6 | yw | 36 |
| 2 waith | 7 | yw | 14 | 4 gwaith | 7 | yw | 28 | 6 gwaith | 7 | yw | 42 |
| 2 waith | 8 | yw | 16 | 4 gwaith | 8 | yw | 32 | 6 gwaith | 8 | yw | 48 |
| 2 waith | 9 | yw | 18 | 4 gwaith | 9 | yw | 36 | 6 gwaith | 9 | yw | 54 |
| 2 waith | 10 | yw | 20 | 4 gwaith | 10 | yw | 40 | 6 gwaith | 10 | yw | 60 |
| 2 waith | 11 | yw | 22 | 4 gwaith | 11 | yw | 44 | 6 gwaith | 11 | yw | 66 |
| 2 waith | 12 | yw | 24 | 4 gwaith | 12 | yw | 48 | 6 gwaith | 12 | yw | 72 |

| | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 7 gwaith | 0 | yw | 0 | 9 gwaith | 0 | yw | 0 | 11 gwaith | 0 | yw | 0 |
| 7 gwaith | 1 | yw | 7 | 9 gwaith | 1 | yw | 9 | 11 gwaith | 1 | yw | 11 |
| 7 gwaith | 2 | yw | 14 | 9 gwaith | 2 | yw | 18 | 11 gwaith | 2 | yw | 22 |
| 7 gwaith | 3 | yw | 21 | 9 gwaith | 3 | yw | 27 | 11 gwaith | 3 | yw | 33 |
| 7 gwaith | 4 | yw | 28 | 9 gwaith | 4 | yw | 36 | 11 gwaith | 4 | yw | 44 |
| 7 gwaith | 5 | yw | 35 | 9 gwaith | 5 | yw | 45 | 11 gwaith | 5 | yw | 55 |
| 7 gwaith | 6 | yw | 42 | 9 gwaith | 6 | yw | 54 | 11 gwaith | 6 | yw | 66 |
| 7 gwaith | 7 | yw | 49 | 9 gwaith | 7 | yw | 63 | 11 gwaith | 7 | yw | 77 |
| 7 gwaith | 8 | yw | 56 | 9 gwaith | 8 | yw | 72 | 11 gwaith | 8 | yw | 88 |
| 7 gwaith | 9 | yw | 63 | 9 gwaith | 9 | yw | 81 | 11 gwaith | 9 | yw | 99 |
| 7 gwaith | 10 | yw | 70 | 9 gwaith | 10 | yw | 90 | 11 gwaith | 10 | yw | 110 |
| 7 gwaith | 11 | yw | 77 | 9 gwaith | 11 | yw | 99 | 11 gwaith | 11 | yw | 121 |
| 7 gwaith | 12 | yw | 84 | 9 gwaith | 12 | yw | 108 | 11 gwaith | 12 | yw | 132 |

| | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 8 gwaith | 0 | yw | 0 | 10 gwaith | 0 | yw | 0 | 12 gwaith | 0 | yw | 0 |
| 8 gwaith | 1 | yw | 8 | 10 gwaith | 1 | yw | 10 | 12 gwaith | 1 | yw | 12 |
| 8 gwaith | 2 | yw | 16 | 10 gwaith | 2 | yw | 20 | 12 gwaith | 2 | yw | 24 |
| 8 gwaith | 3 | yw | 24 | 10 gwaith | 3 | yw | 30 | 12 gwaith | 3 | yw | 36 |
| 8 gwaith | 4 | yw | 32 | 10 gwaith | 4 | yw | 40 | 12 gwaith | 4 | yw | 48 |
| 8 gwaith | 5 | yw | 40 | 10 gwaith | 5 | yw | 50 | 12 gwaith | 5 | yw | 60 |
| 8 gwaith | 6 | yw | 48 | 10 gwaith | 6 | yw | 60 | 12 gwaith | 6 | yw | 72 |
| 8 gwaith | 7 | yw | 56 | 10 gwaith | 7 | yw | 70 | 12 gwaith | 7 | yw | 84 |
| 8 gwaith | 8 | yw | 64 | 10 gwaith | 8 | yw | 80 | 12 gwaith | 8 | yw | 96 |
| 8 gwaith | 9 | yw | 72 | 10 gwaith | 9 | yw | 90 | 12 gwaith | 9 | yw | 108 |
| 8 gwaith | 10 | yw | 80 | 10 gwaith | 10 | yw | 100 | 12 gwaith | 10 | yw | 120 |
| 8 gwaith | 11 | yw | 88 | 10 gwaith | 11 | yw | 110 | 12 gwaith | 11 | yw | 132 |
| 8 gwaith | 12 | yw | 96 | 10 gwaith | 12 | yw | 120 | 12 gwaith | 12 | yw | 144 |

## Dosran VI.—Cyfraniaeth.

Dyben yr adran hon mewn rhifyddiaeth yw dangos pa nifer o weithiau y mae un rhifnod yn cynwys y llall; neu, pa nifer o weithiau y mae un rhifnod yn fwy na'r llall. Os bwriedir rhann

$12 rhwng 3 o bersonau, rhaid cael allan pa nifer o weithiau y mae 12 yn cynwys 3, sef pedair gwaith; gan hyny, cânt $4 yr un. Gall pob dyn wneyd y cyfraniad uchod yn ei feddwl, o herwydd fod y swm mor fychan a'r rhanau yn gyfartal; ond os dygir i mewn dorrifau, neu ryw ran o rifnod arall, ni cheir yr atebiad mor ddidrafferth. Golyger fod $12½ i'w rhanu rhwng y 3 pherson uchod, a cheir fod y pwnc yn fwy dyrys. Mae haner yn awr i'w ranu rhwng tri, a pha fodd y gwneir hyny? Mae yn amlwg fod yn hawdd rhanu rhifau cyfain â rhifau cyfain; gan hyny, mae yn canlyn y bydd yr un mor hawdd rhanu haneran â haneran. Yna, ni a edrychwn pa nifer o haneran a geir mewn 12½. Amlwg yw mai 25 fydd y swm hwn. Dyma 25 o haneran; ac yn awr ni a edrychwn faint o haneran sydd mewn 3, sef 6. Sylwer yn nesaf fod 25 o haneran i'w rhanu â 6 o haneran, a pha nifer o weithiau y mae 6 yn gynwysedig mewn 25?

Gweithrediad.

6)25(4⅙
24
—
1

Gwelir fod chwech yn myned i 25, 4 gwaith ac un dros ben, yr hyn a ffurfia ⅙; yna amlwg yw mai rhan pob un o'r personau yw $4⅙. Gellir profi cywirdeb y rhanau hyn yn nghyd, fel hyn:

$4⅙ *Rhan y cyntaf.*
$4⅙ *Rhan yr ail.*
$4⅙ *Rhan y trydydd.*
—
$12⅜

Amlwg yw ein bod wedi cael y swm cyntefig, sef $12½ wrth roddi y rhanau hyn yn nghyd; eithr y mae yma un peth a duedda i ddyrysu yr efrydydd, sef y ⅜ ar ol y 12, oblegid mai ½ sydd ar ol y 12 cyntefig; ond cofier fod ⅜ a ½ yn gyfartal, neu yr un faint; ac, oblegid hyny, mae y cyfraniad yn gywir. Pe yr ewyllysiem ranu 444 rhwng dau berson, safai y gwaith fel hyn; 2)444(222. Mae y 2 ar y chwith yn cynddrychioli y ddau berson, ac wedi rhoddi cromfach o bob tu y 444, dyweder 2 i 4 ddwy waith, a rhodder y ddau i lawr ar y dde, yr hwn a ffurfia y rhifnod cyntaf yn yr atebiad; yna dyweder 2 i 4 ddwy waith, a rhodder 2 eto ar y dde, sef ail rifnod yr atebiad; ac yn ddiweddaf, dyweder, 2 i 4 ddwy waith, a gosoder y trydydd rhifnod ar y dde, i orphen y gwaith. Oddiwrth yr uchod, rhoddwn y rheol ganlynol:

### RHEOL GYFFREDINOL.

Ysgrifener i lawr y rhifnod mwyaf yn gyntaf, a rhodder y rhifnod lleiaf, neu y rhanydd, ar y llaw chwith, a chromfach, neu linell union syth i'w gwahanu, fel hyn: 2)222(111. Yna edrycher pa nifer o weithiau y mae y rhifnod cyntaf, o'r rhifnod mwyaf, yn cynwys y rhanydd, neu y rhifnod llei-

af, a gosoder yr ateb ar y llaw dde, i ffurfio y rhifnod cyntaf yn yr atebiad, a lluosoger y rhanydd â hwnw, a gosoder y cynyrch o dan y rhifnodau, fel hyn:

```
261)67289(2
    522
    ———
    150
```

Gwelir mai 2 yw y rhifnod cyntaf yn yr atebiad, ac wedi lluosogi y rhanydd â'r 2 hwn, cawn 522 yn gynyrch, yr hwn a osodir i lawr fel uchod, o dan y rhifnodau cyntaf; yna tyner y swm hwn allan, a cheir 150 yn weddill. Tyner i lawr yr 8 o'r rhifnod mwyaf, a chawn 1508 i'w rhanu yr ail waith. Ceir yr â y rhanydd i hwn 5 gwaith; gan hyny, 5 fydd y rhif nesaf yn yr atebiad. Lluosoger y rhanydd eto â hwn, fel o'r blaen, a chawn 1305 yn gynyrch, ac wedi tynu hwn allan o'r llall, sef o 1508; cawn yn weddill 203; yna tyner i lawr at hwn y 9, sef y rhifnod diweddaf, a cheir 2038 i'w rhanu. Mae yn amlwg yr â y rhanydd i hwn 7 waith, sef y rhifnod olaf yn yr atebiad, ond wedi lluosogi y rhanydd â 7 ceir 1827 yn gynyrch, ac wedi tynu hwn allan o 2039 bydd 212 yn weddill nas gellir eu rhanu â 261, o herwydd fod yr olaf yn fwy na'r blaenaf. Gosodir y gweddill yn gyffredin yn dor-rif uwch ben y rhanydd, fel hyn: $257\frac{212}{231}$. Nid yw yn canlyn y bydd gweddill bob amser mewn cyfraniaeth; canys mae hyny yn annichonadwy pan fydd y rhanydd yn gynwysedig yn y rhifnod fydd i'w rann ryw nifer penodol o weithiau, fel yn yr enghraifft a ganlyn: Rhaner 7059 rhwng 13.

```
13)7059(543
   65
   ——
    55
    52
    ——
     39
     39
```

Y rhanydd yw 13, ac mae yn amlwg nad ydyw 7, sef y rhif cyntaf, yn cynwys 13, gan hyny, cymerir i mewn y gwagnod o'r ochr arall, a chanfyddir fod 70 yn cynwys 13 bum' gwaith, a rhyw faint yn rhagor. Gan nad aiff y rhanydd 13 i'r saith mil, y mae yn amlwg na fydd dim mil yn yr atebiad. Wedi rhoddi y 5 ar y llaw dde, lluosogir y 13 â'r unrhyw, a cheir 65 yn gynyrch, yr hwn a roddir i lawr o dan y 70, ac wedi tynu y 65 o'r 70 ceir 5 yn weddill. Dyger i lawr y 5 arall at hwn, a cheir 55, i'r hwn yr aiff 13 bedair gwaith a 3 dros ben; ac wedi tynu i lawr y 9 diweddaf, ffurfir 39. Gwelir fod 13 yn gynwysedig yn hwn 3 gwaith heb ddim dros ben, gan hyny mae y ddau rifnod diweddaf yn y gwaith yn gyfartal, sef 39, y naill o dan y llall.

Gellir profi cyfraniaeth drwy luosogi y rhanydd a'r atebiad yn nghyd, ac os bydd y cynyrch yn gyfartal i'r swm cyntefig, gellir dweyd fod y gwaith yn gywir.

Pan fydd y rhanydd yn 10, 100, 1000, &c., cymaint sydd eisiau mewn trefn i gyfranu yn rheolaidd, yw tori ymaith o ochr llaw dde y rhifnod fydd i'w ranu, yr un nifer o ffigyrau ag fydd o wagnodau yn y rhanydd, a bydd y gwaith wedi ei orphen. Gall yr efrydydd gael allan pa nifer o weithiau y bydd y rhanydd yn gynwysedig yn y rhif fydd i'w ranu, wrth fanwl sylwi ar y *gwahaniaeth* rhwng y ffigyrau; a chofier nas gall yr un rhifnod yn yr atebiad fod yn fwy na 9. Os ceir y cymer y rhifnod fydd i gael ei ranu rif uwch na naw, rhaid fod gwall yn y gwaith blaenorol, ac y dylai y rhifnod diweddaf yn yr atebiad fod yn fwy o un o'r hyn lleiaf.

### ESIAMPLAU YMAREROL.

Rhaner 119836687 gyda 39407.

| Y Gwaith. | Y Gwaith. |
|---|---|
| 39407)119836687(3041 | 435)262534(603 $\frac{229}{435}$ |
| 118221 | 2610 |
| ———— | ———— |
| 161568 | 1534 |
| 157628 | 1305 |
| ———— | ———— |
| 39407 | 229 |

Gwelir fod gwagnod yn yr atebiad, yn yr esiamplau blaenorol, yr hyn a achoswyd drwy nad oedd y rhifnodau i'w rhanu yn cynwys y rhanydd, ar ol tynu un rhifnod i lawr a'i roddi gyda'r gweddill ar ol ertbynu cynyrch y cyntaf o'r swm gwreiddiol. Mae yn amlwg mai cynyrch y rhifnod cyntaf yn yr ateb i'r esiampl flaenaf yw 118221; ac wedi erthynu hwn o ochr llaw chwith y rhif mwyaf, mae 1615 yn weddill. Yn awr, tynwn y 6 i lawr at y gweddill, a cheir 16156 i'w rhanu; mae yn amlwg nad ydyw hwn yn cynwys y rhanydd, sef 39407, gan hyny, rhoddwn wagnod wrth ochr y tri yn yr atebiad, a thynwn i lawr yr 8, a chawn 161568, yr hwn sydd yn cynwys y rhanydd dros bedair gwaith. Pe na buasai y rhanydd yn myned i hwn drachefn, buasai yn ofynol rhoddi gwagnod arall yn yr atebiad, a thynu y saith i lawr. Deallir y pwnc hwn yn drwyadl ar ol ychydig o efrydiaeth mewn cyfraniaeth.

| | |
|---|---|
| Rhaner 47839 gyda 42. | *At.* $1139\frac{1}{42}$. |
| Rhaner 75043 gyda 52. | *At.* $1443\frac{7}{52}$. |
| Rhaner 93840 gyda 63. | *At.* $1489\frac{33}{63}$. |
| Rhaner 421645 gyda 74. | *At.* $5697\frac{67}{74}$. |
| Rhaner 325000 gyda 85. | *At.* $3823\frac{45}{85}$. |
| Rhaner 400000 gyda 96. | *At.* $4166\frac{64}{96}$. |
| Rhaner 999999 gyda 47. | *At.* $21276\frac{27}{47}$. |
| Rhaner 352417 gyda 29. | *At.* $12152\frac{9}{29}$. |
| Rhaner 47981 gyda 251. | *At.* $191\frac{40}{251}$. |
| Rhaner 423405 gyda 485. | *At.* 873. |
| Rhaner 16512 gyda 344. | *At.* 48. |
| Rhaner 304916 gyda 6274. | *At.* $48\frac{3764}{6274}$. |

## Dosran VII.—Tor-Rifau.

Wrth dor-rifau, y meddylir rhif o unrhyw genedl neu enw, wedi ei ranu i unrhyw nifer o ranau, a phan roddir y rhanau hyny yn nghyd, cynyrchir y rhifnod cyfan gwreiddiol. Os rhenir 1 â 2, gelwir un o'r rhanau yn un haner; ac os rhenir 1 â 3, gelwir y rhan y drydedd ran o un; os rhenir 1 yn bedwar o ranau, y bedwaredd ran, neu chwarter, y gelwir un o honynt. Cyn y gellir deall natur tor-rifau rhaid cadw yn llygad y meddwl yn barhaus â pha rif y bydd yr 1 gwreiddiol wedi ei ranu. Os gwelir $\frac{1}{9}$ rhaid cofio fod yr 1 gwreiddiol wedi ei ranu yn 9 o ranau, ac y dynodir un o'r rhanau hyny; ond os $\frac{8}{9}$ fydd y tor-rif, amlwg yw y cymerir 8 o'r rhanau gwreiddiol, ac nad oes eisiau ond $\frac{1}{9}$ o'r rhanau eyntefig i wneyd y cyfrif cyfan i fyny. Gall yr 1 hwnw fod yn un filltir, un erw, un ddolar, un bunt, un fil, neu un dunell. Y rhif islaw y llinell sydd i ddangos i ba nifer y rhanwyd yr 1, a'r rhif uwchlaw y llinell a ddynoda pa nifer o'r rhanau hyny a ddynodir trwy y tor-rif. Wrth edrych ar y tor-rif $\frac{3}{5}$ o ddolar, canfyddir fod dolar wedi ei ranu yn bump o ranau, ac mae y tor-rif uchod yn cynddrychioli tair o'r cyfryw ranau. Os ewyllysir cael allan pa faint yw $\frac{3}{5}$ o ddolar, rhenir dolar, neu 100 cent, â 5, ac amlwg yw mai 20 cent fydd yr atebiad, sef un bumed ran o ddolar; gan hyny, 20 cent dair gwaith a wna 60 cent, neu $\frac{3}{5}$ o ddolar. Yr un modd y gweithir yr holl dor-rifau eraill, yn yr un cysylltiad â'r uchod; canys llywodraethir y cwbl gan y rhifnod isaf, o ran gradd a natur, a chan

yr uchaf, o ran y swm. Gan fod swm unrhyw dor-rif yn dibynu ar nifer y rhanau a ddynodir, mae yn canlyn, os bydd y ddau rifnod, sef yr uchaf a'r isaf, yn gyfartal, y bydd swm y tor-rif yn 1. Os bydd yr uchaf yn llai na'r isaf, bydd swm y tor-rif yn llai nag 1; ond ar yr ochr arall, os bydd yr isaf yn llai na'r uchaf, bydd swm y tor-rif yn fwy nag 1. Gellir egluro yr hyn a nodwyd fel y canlyn: Cymerwn $\frac{1}{2}$; yn hwn mae yr uchaf yn llai na'r isaf, gan hyny mae ei swm yn llai nag 1. Ond yn y tor-rif hwn, $\frac{2}{2}$, mae y ddau yr un faint, ac oblegid hyny mae y swm yn 1; canys os rhenir 2 â 2, un fydd yr atebiad. Yn y lle nesaf, cawn $\frac{3}{2}$, ac yn awr y mae y rhif uchaf yn fwy na'r isaf, a'r canlyniad yw fod swm y tor-rif yn fwy nag 1.

Oddiwrth a ddywedwyd, ni a nodwn y gwahanol fathau o dor-rifau, fel y canlyn:

1, Tor-rifau rheolaidd, sef y tor-rif y mae y rhif uchaf yn llai na'r isaf, megys $\frac{1}{3}$, $\frac{1}{4}$, $\frac{1}{5}$, $\frac{1}{6}$, &c., &c.

2. Y tor-rifau afreolaidd, sef y rhai y mae y rhif uchaf yr un faint, neu yn fwy na'r isaf, ac o herwydd hyny rhaid i'r swm fod yn 1, neu yn fwy; o ganlyniad, dywedir eu bod yn afreolaidd, fel y rhai canlynol: $\frac{2}{1}$, $\frac{3}{2}$, $\frac{4}{3}$, $\frac{5}{4}$, $\frac{6}{1}$, $\frac{3}{1}$, &c.

3. Tor-rifau cyfansawdd ydynt y rhai hyn: $\frac{1}{2}$ o $\frac{2}{3}$, $\frac{1}{2}$ o $\frac{1}{4}$, $\frac{1}{7}$ o $\frac{1}{8}$, &c.

4. Tor-rifau cymysgedig a gysylltir â rhifnodau cyfain yn y ffurf ganlynol: $3\frac{1}{2}$, $4\frac{1}{4}$, $6\frac{3}{8}$, $3\frac{1}{7}$, &c.

5. Tor-rif cymysglyd yw yr hwn y mae y rhifnod uchaf a'r isaf yn gymysgedig o dor-rifau, fel yr enghreifftiau isod: $\frac{\frac{2}{3}}{\frac{4}{5}}$, $\frac{\frac{1}{7}}{\frac{1}{8}}$, $\frac{\frac{2}{9}}{\frac{1}{4}}$, &c., &c.

### CYNODIAETH TOR-RIFAU.

Bydd amgylchiadau yn aml yn galw arnom gynodi, neu roddi yn nghyd, wahanol dor-rifau, a chyn y gallwn wneyd hyny, mae yn amlwg fod yn rhaid i'r tor-rifau oll fod o'r un natur neu ansawdd. Os cynodir $\frac{1}{2}$, $\frac{1}{2}$, $\frac{1}{2}$, $\frac{1}{2}$, gwelir fod y pwnc yn dra syml, sef rhoddi y ffigyrau uchaf yn nghyd, y rhai a wnant 4, a rhanu hwn â'r isaf, sef 2, a'r ateb fydd dau rif cyfan. Ond os rhoddwn $\frac{1}{2}$, $\frac{1}{3}$, $\frac{1}{4}$, $\frac{1}{5}$ yn nghyd, cawn fod y pwnc yn dra gwahanol, o herwydd nad yw y rhanau uchod yn dal un cyfartalrwydd â'u gilydd, canys yn yr amgylchiad cyntaf mae yr 1 cyfan neu yr 1 gwreiddiol, wedi ei ranu yn 2, yr ail yn 3, y trydydd yn 4, &c. Cyn y gellir cynodi y

fath dor-rifau rhaid eu cael oll i'r un natur, i ddynodi yr un rhanau o'r 1 gwreiddiol. Cwblheir hyn wrth luosogi y rhifnodau isaf oll yn nghyd. Cynoder $\frac{1}{2}$ a $\frac{1}{3}$. Gwelir yn y lle cyntaf fod yr 1 wedi ei ranu yn 2, ac yn yr ail le, mae yr 1 wedi ei ranu yn 3, a chan fod gwahaniaeth hanfodol rhwng haner unrhyw wrthddrych a'r drydedd ran o hono, rhaid eu cyffelybu fel hyn: Mae $\frac{1}{2}$ yn gyfartal i $\frac{3}{6}$, a $\frac{2}{3}$ yn gyfartal i $\frac{4}{6}$; ac yn awr gwelir fod yr un gwreiddiol, pa un bynag ai dolar, punt, swllt, erw, neu dunell, wedi ei ranu i chwechau; gan hyny, os rhoddwn yn nghyd $\frac{3}{6}$ a $\frac{4}{6}$, cawn $\frac{7}{6}$, neu $1\frac{1}{6}$. Cynoder $\frac{3}{7}$ a $\frac{4}{5}$. Lluosogwn y ddau rifnod isaf, a chawn 35; yna lluosogwn y 3 a'r 5, a chawn 15, ac wedi hyny lluosoger y 4 â'r 7, a cheir 28. Saif y tor-rif yn awr fel hyn: $\frac{15}{35}$ a $\frac{28}{35}$, y rhai ydynt yn gyfartal i $\frac{3}{7}$ a $\frac{4}{5}$. Cynoder y rhifnodau uchaf 15 a 28, a cheir $\frac{43}{35}$, ac wedi rhanu yr uchaf a'r isaf, cawn $1\frac{8}{35}$, sef cyfanswm $\frac{3}{7}$ a $\frac{4}{5}$. Oddiwrth yr hyn a ddywedasom, rhoddwn y rheol ganlynol i gynodi tor-rifau.

### RHEOL GYFFREDINOL.

**Dychweler y tor-rifau oll i'r un dynodydd cyffredinol, drwy luosogi yn nghyd yr holl rifnodau isaf; yna lluosoger y rhai uchaf â phob un o'r rhai isaf, ond yr hwn fydd yn union o dan y lluosogydd. Rhodder yn nghyd y holl gynyrchion hyn, a rhaner y swm â'r dynodydd cyffredinol, a bydd y gwaith wedi ei gwblhau.**

### ESIAMPLAU YMARFEROL.

Cynoder yn nghyd $\frac{7}{8}$, $\frac{5}{12}$, $\frac{11}{16}$ a $\frac{13}{20}$.

Y Gwaith yn llawn.

$7\times12\times16\times20=26880.$
$5\times8\times16\times20=12800.$
$11\times8\times12\times20=21120.$
$13\times8\times12\times16=19968.$

$$\frac{80768.}{8\times12\times16\times20=30720.}=2\tfrac{151}{240}.$$ *Atebiad.*

**Bydded i'r efrydydd fanwl sylwi ar y gwaith uchod, nes ei ddeall yn drwyadl, a gwel pa fodd i ddychwelyd y tor-rifau oll i'r un dynodydd cyffredinol, a'u cynodi yn nghyd.**

Cynoder $11\frac{6}{7}$, $19\frac{5}{12}$, a $23\frac{5}{9}$. *At.* $54\frac{209}{252}$.
Cynoder $21\frac{4}{9}$, $18\frac{2}{3}$, a $26\frac{5}{6}$. *At.* $66\frac{17}{18}$.
Cynoder $\frac{1}{2}$, $\frac{1}{3}$, $\frac{1}{4}$, $\frac{1}{5}$, $\frac{1}{6}$, a $\frac{1}{7}$. *At.* $1\frac{83}{140}$.

### ERTHYNIAETH TOR-RIFAU.

Wrth erthyniaeth tor-rifau y golygir y drefn i gael allan y gwahaniaeth rhwng y naill dor-rif a'r llall; ac mae yn amlwg oddiwrth yr hyn a nodasom dan gynodiaeth, fod yn ofynol cael y torrifau oll o'r un natur ac ansawdd, cyn tynu allan y gwahaniaeth :

### RHEOL GYFFREDINOL.

**Pan fydd y tor-rifau yn meddu yr un dynodydd, neu y rhif isaf, erthyner y rhai uchaf y naill o'r llall, a rhodder y gwahaniaeth uwchlaw y dynodydd cyffredinol; ond pan fydd y rhifnodau isaf yn wahanol. dychweler y torrifau oll i'r un dynodydd cyffrediuol, ac erthyner y lleiaf o'r mwyaf, fel o'r blaen.**

### ESIAMPLAU YMARFEROL.

Tyner $\frac{3}{8}$ allan o $\frac{5}{8}$. Yma cawn fod y gwahaniaeth yn $\frac{2}{8}$, canys os tynir 3 o 5 ceir 2 yn weddill; gan hyny $\frac{2}{8}$ yw y gwahaniaeth, yr hyn sydd gyfartal i $\frac{1}{4}$. Allan o $9\frac{1}{4}, tyner $7\frac{3}{4}. Gellir ateb y cwestiwn hwn drwy edrych pa nifer o chwarteri sydd yn y cwbl, a thynu y chwarteri y naill o'r llall, fel hyn : $9\times4+1=37$ ; $7\times4+3=31$. Yn awr, gwelir fod mewn $9\frac{1}{4}, 37 chwarter, ac mewn $7\frac{3}{4}, 31 chwarter, ac os tynir 31 o 37, ceir 6 chwarter yn weddill, sef $1\frac{1}{2}$, yr atebiad. Allan o $\frac{5}{6}$ tyner $\frac{1}{3}$. Mae y rhifnodau isaf yma yn wahanol, gan hyny dywedwn $6\times3=18$, y dynodydd cyffredinol, yna, $5\times3=15$, a chawn $\frac{15}{18}$ am $\frac{5}{6}$, wedi hyny $6\times1=6$, a cheir $\frac{6}{18}$ am $\frac{1}{3}$. Yn awr, tyner $\frac{6}{18}$ allan o $\frac{15}{18}$, a bydd yn weddill $\frac{9}{18}$, yr hyn sydd gyfartal i $\frac{1}{2}$.

| | |
|---|---|
| Tyner $\frac{1}{43}$ allan o $\frac{3}{17}$. | *At.* $\frac{112}{731}$. |
| Tyner $\frac{4}{62}$ allan o $\frac{13}{73}$. | *At.* $\frac{257}{2263}$. |
| Tyner $\frac{19}{16}$ allan o $2\frac{7}{8}$. | *At.* $1\frac{11}{16}$. |
| Tyner $2\frac{1}{7}$ allan o $4\frac{1}{6}$. | *At.* $2\frac{1}{42}$. |

### LLUOSIAETH TOR-RIFAU.

Gall yr efrydydd yn fuan ddeall pa fodd i luosogi y naill dor-rif gyda'r llall, ond iddo gofio lluosogi y rhifnodau isaf i ffurfio dynodydd i dor-rif newydd, a'r rhifnodau uchaf yr un modd, i ffurfio y ffigyrau uchaf yn y ffurf newydd, fel hyn : Lluoser $\frac{4}{11}$ gyda $\frac{2}{3}$. Yn awr, cymaint sydd i'w wneyd yw lluosogi 11 a 3, a chael 33 i'w roddi yn isaf, a lluosogi 4 a 2 i'w roddi yn uchaf, yna saif fel y canlyn : $\frac{8}{33}$, yr atebiad.

### RHEOL GYFFREDINOL.

Lluosoger y rhifau uchaf yn nghyd i ffurfio y rhai uchaf yn y tor-rif newydd; a'r un modd lluosoger y rhifnodau isaf i ffurfio y rhai isaf yn y tor-rif newydd, a'r cynyrch fydd yr atebiad ceisiedig. Dychweler y tor-rif newydd i'w ffurf symlaf, os na fydd felly ar ol gorphen lluosogi. I luosogi rhif cyfan â thor-rif, lluosoger â'r rhif uchaf, a chyfraner y cynyrch â'r isaf.

### ESIAMPLAU YMARFEROL.

Lluosoger $\frac{14}{17}$ gyda $\frac{17}{42}$. *At.* $\frac{1}{3}$.

Lluosoger $\frac{4}{9}$ gyda $\frac{18}{19}$. *At.* $\frac{8}{19}$.

Lluosoger $\frac{7}{9}$ gyda $\frac{9}{11}$. *At* $\frac{7}{11}$.

Lluosoger $8\frac{3}{5}$ gyda 7. *At.* $60\frac{1}{5}$.

Lluosoger $23\frac{4}{9}$ gyda 11. *At.* $257\frac{8}{9}$.

Lluosoger $\frac{4}{9}$ o $\frac{7}{8}$ o $\frac{1}{2}$ gyda 12. *At.* $2\frac{1}{3}$.

### CYFRANIAETH TOR-RIFIADAU.

Mae yn amlwg fod yn ofynol cael rhifnod a gynyrcha y rhif fydd i gael ei ranu, wrth ei luosogi â'r cyfranydd, cyn y gellir cyfranu yn gywir â thor-rif, neu wrth ranu tor-rif â rhif cyfan. Rhaner $\frac{8}{9}$ gyda $\frac{1}{4}$. Gweithir fel hyn: $\frac{8}{9} \div 4 = \frac{8}{36} = \frac{2}{9}$. Yr ateb yw $\frac{2}{9}$. Oddiwrth a ddywedwyd, rhoddir y rheol isod i gyfranu tor-rif â rhif cyfan.

### RHEOL GYFFREDINOL.

Rhaner rhif uchaf y tor-rif, neu lluosoger y rhif isaf â'r cyfranydd.

Os telir $$3\frac{1}{3}$ am 10 bwsiel o afalau, pa faint fydd pris un bwsiel? Mewn trefn i ateb yr uchod, rhaid rhanu $3\frac{1}{3}$ â 10, trwy edrych pa nifer o $\frac{1}{3}$ sydd yn $3\frac{1}{3}$, a cheir y saif fel hyn: $\frac{10}{3}$; yna rhaner $\frac{10}{3}$ â 10, a bydd yr ateb yn $\frac{1}{3}$.

I ranu rhif cyfan â thor-rif:

### RHEOL.

Gwrthdroer y cyfranydd, drwy roddi y rhif isaf yn uchaf, yna lluosoger y cyfanrif â'r tor-rif newydd.

Rhaner 17 gyda $\frac{3}{4}$. Mae yn amlwg fod 17 yn cynwys $\frac{1}{4}$ yr un nifer o weithiau ag y ceir $\frac{1}{4}$ yn 17; gan hyny mae yn canlyn fod 68 o $\frac{1}{4}$ yn 17, a chan mai $\frac{3}{4}$ yw y cyfranydd, cymaint sydd genym i'w wneyd yw chwilio pa nifer o weithiau yr aiff 3 i 68, sef $22\frac{2}{3}$. Dyna yr atebiad ceisiedig.

I rannu y naill dor-rif â'r llall:

RHEOL.

Gwrthdroer y cyfranydd a gweithier yr un modd âg y gwnaed wrth luosogi. Dychweler y tor-rifau i'r ffurf fwyaf syml.

ESIAMPLAU YMARFEROL.

Rhaner $\frac{4}{9}$ â $\frac{7}{8}$. Dechreuer drwy newid y $\frac{7}{8}$ i $\frac{8}{7}$; yna $\frac{4}{9}\times\frac{8}{7}=\frac{32}{63}$, yr atebiad.

Rhaner $\frac{43}{84}\times\frac{86}{21}$. Saif yn y dull a ganlyn $\frac{43}{84}\times\frac{21}{86}=\frac{1}{8}$, yr atebiad.

Rhaner $4\frac{1}{3}$ gyda $17\frac{1}{2}$. *At.* $\frac{26}{105}$.

Rhaner $\frac{15}{17}$ gyda $\frac{30}{3}$. *At.* $\frac{3}{34}$.

Rhaner 128 gyda $\frac{2}{15}$. *At.* 960.

Rhaner $13\frac{3}{8}$ gyda 8. *At.* $1\frac{43}{64}$.

Rhaner $\frac{7}{11}$ o $\frac{4}{5}$ gyda $\frac{3}{5}$ o $\frac{8}{11}$. *At.* $1\frac{1}{6}$.

## Dosran VIII.—Tor-Rifau Degeuol.

Mae y tor-rifau hyn yn hollol wahanol i'r holl rai fu dan sylw, a chan fod arian y Talaethau Unedig yn cael eu cyfrif yn ol trefn y tor-rifau degeuol, mae o'r pwysigrwydd mwyaf i'r efrydydd eu deall yn wirioneddol a thrwyadl. Mae y rhif isaf yn y tor-rifau hyn bob amser yn rhif cyfan, neu 1, a'r un nifer o wagnodau ar y llaw dde iddo ag fydd o rifnodau yn y rhif uchaf; a chan fod hyn yn anghyfnewidiol a dealladwy, ni ysgrifenir y rhif isaf braidd un amser. Os rhoddir pymtheg cent, safant fel hyn: .15, ac mae pawb yn eu deall, tra mewn gwirionedd mai dyma y ffurf briodol $\frac{15}{100}$, gan mai pymtheg canfed ran o ddolar yw pymtheg cent. Oddiwrth hyn, gwelwn fod $\frac{5}{10}$, $\frac{15}{100}$, $\frac{161}{1000}$ yn gyfartal i .5, .15, .161. Nid yw gwagnodau ar yr ochr dde yn dylanwadu dim ar faint tor-rifiau degeuol, ond y mae gwagnodau ar yr ochr chwith yn eu lleihau ar y ddegfed, y ganfed, a'r filfed, &c. Oddiwrth y tor-rifiau canlynol bydd yn hawdd i'r efrydydd ddeall y gwahaniaeth rhwng y rhai degeuol a'r rhai eraill. Y ffurf gyffredin i ysgrifenu tor-rifiau sydd fel hyn: $\frac{3}{10}$, $\frac{7}{100}$, $\frac{37}{1000}$, a $\frac{1}{10000}$; ond y dull priodol yw .3, .07, .37, a .0001, pan y golygir rhai degeuol. Mae yn dra hawdd deall y dor-rifau hyn wrth ddal o flaen y meddwl fod arian Americanaidd yn cael eu trafod yn ol y gyfundrefn hon. Os dew-

isir rhoddi chwarter i lawr, ni a ysgrifenwn .25 yr hwn sydd yr un faint a $\frac{1}{4}$ canys mae pob un o honynt yn dangos chwarter dolar. Eto, mae $\frac{1}{2}$ a $\frac{3}{4}$ yn cael eu gosod i lawr yn ddegeuol fel hyn : .50. .75. Oddiwrth y sylwadau uchod rhoddir y rheol ganlynol i droi tor-rifau cyffredin yn rhai degeuol.

RHEOL.

**Rhodder gwagnodau ar ochr dde y rhif uchaf, a rhaner â'r rhif isaf hyd nes na bydd dim yn weddill.**

ESIAMPLAU YMARFEROL.

Troer $\frac{5}{8}$ yn dor-rif degeuol. Yn gyntaf, rhoddwn wagnod ar ol y 5, a rhanwn â'r 8, fel hyn :

```
8)50(.625
  48
  ——
   20
   16
   ——
    40
```

Gwelwn oddiwrth yr engbraifft hon mai .625 sydd gyfartal i $\frac{5}{8}$, yr hwn rifnod a gaed wrth roddi gwagnodau ar ol y rhif uchaf, neu y pump, hyd nes nad oedd dim yn weddill Dangosir drwy yr esiampl uchod pa fodd i droi tor-rifau cyffredin yn rhai degeuol; ac oddiwrth y rheol ganlynol deallir y ffordd i'w troi yn ol drachefn i ffurf tor-rifau degeuol.

RHEOL.

**Rhodder yr un nifer o wagnodau o dan y tor-rif degeuol ag a fydd o rifnodau cyffredin yn y tor-rif hwnw, a gosoder 1 ar yr ochr chwith iddo ; yna rhaner y rhifnod a ffurfir fel hyn a'r tor-rif degeuol, nes y dychwelir y tor-rif i'w ffurf symlaf, a cheir yr atebiad.**

Troer .75 yn dor-rif cyffredin o'r un swm. Rhodder 100 dan y 75 fel hyn : $\frac{75}{100}$, yna rhaner 100 â 75, a rhaner y 75 hwn â'r gweddill ar ol y rhaniad cyntaf, sef 25, yr hwn a aiff i 75 heb weddill. Y 25 hwn yw y cyfranydd priodol i 75 ac i 100. Aiff 25 i 75 dair gwaith, gan hyny 3 yw rhifnod uchaf y tor-rif ; ac yn ddiweddaf, aiff 25 i 100 bedair gwaith, yr hyn sydd yn dangos mai 4 yw rhifnod isaf y tor-rif. Gwelir oddiwrth y rhesymiad uchod mai $\frac{3}{4}$ yw y tor-rif cyffredin, cyfartal i .75 degeuol.

| | |
|---|---|
| Troer .435 i dor-rif cyffredin. | *At.* $\frac{87}{200}$. |
| Troer .656 i dor-rif cyffredin. | *At.* $\frac{82}{125}$. |
| Troer .012 i dor-rif cyffredin. | *At.* $\frac{3}{250}$. |
| Troer $\frac{2}{3}$ i dor-rif degeuol. | *At.* .666+ |

Troer $\frac{5}{6}$ i dor-rif degeuol. *At.* .833+
Troer $\frac{11}{12}$ i dor-rif degeuol. *At.* .91666+
Troer $\frac{1}{1234}$ i dor-rif degeuol. *At.* .0008103+

## Dosran IX.—Llog Arian.

Llog yw yr arian a delir am fenthyg arian dros amser pennodedig. Yr hawl yw yr arian y telir llog arnynt, a'r cyfanswm yw yr hawl a'r llog wedi eu rhoddi yn nghyd. Mae graddau, neu faintioli y llog yn ol hyn a hyn y cant, sef rhyw nifer neillduol o centiau am fenthyg can' cent, neu hyn a hyn o ddoleri am fenthyg can' dolar. Pan roddir arian allan ar log, ystyrir maint, neu swm y llog, ar un ddolar am flwyddyn yn unig, ac oddiwrth hyn y nodir faint y cant fydd y llog. Ystyrir y person a hawlia fwy o log ar ei arian nag a benodir gan ddeddfau pob Talaeth, yn gribddeiliwr, ac y mae y gosb am Usuriaeth yn drom yn mhob Talaeth yn yr Undeb. Oddiwrth y daflen isod gwelir llog cyfreithlon y Talaethau, a'r gosb am dderbyn mwy.

| *Talaethau.* | *Llog.* | *Cosbau am Usuriaeth.* |
|---|---|---|
| Maine,.................... | 6 y cant,.. | Fforffetio yr holl ddyled. |
| Hamsphire Newydd,...... | 6 y cant,.. | Fforffetio tair gwaith yr usuriaeth. |
| Vermont................... | 6 y cant,.. | Adferu y golled a'r costau. |
| Massachusetts,............ | 6 y cant,.. | Fforffetio tair gwaith yr usuriaeth. |
| Ynys Rhode,.............. | 6 y cant,.. | Fforffetio yr usuriaeth a'r llog ar y ddyled. |
| Connecticut,.............. | 6 y cant,.. | Fforffetio yr holl ddyled. |
| Efrog Newydd............ | 7 y cant,.. | Fforffetio yr holl ddyled. |
| Jersey Newydd,........... | 6 y cant,.. | Fforffetio yr holl ddyled. |
| Pennsylvania,............. | 6 y cant,.. | Fforffetio yr holl ddyled. |
| Delaware,.................. | 6 y cant,.. | Fforffetio yr holl ddyled. |
| Maryland (*a*),.............. | 6 y cant,.. | Usuriaeth yn ddifudd. |
| Virginia,.................. | 6 y cant,.. | Fforffetio dwy waith yr usuriaeth. |
| Car[illegible]gleddol,......... | 6 y cant,.. | Fforffetio dwy waith yr usuriaeth. |
| Ca[illegible]ddeheuol,........ | 7 y cant,.. | Fforffetio y llog, usuriaeth a'r llog. |
| Georgia,.................. | 8 y cant,.. | Fforffetio tair gwaith yr usuriaeth. |
| Alabama,.................. | 8 y cant,.. | Fforffetio y llog a'r usuriaeth. |
| Mississippi (*b*),........... | 8 y cant,.. | Fforffetio usuriaeth a'r gost. |
| Louisiana (*c*),............. | 5 y cant,.. | Usuriaeth yn ddifudd. |
| Tennessee,................ | 6 y cant... | Usuriaeth yn ddifudd. |
| Kentucky,................. | 6 y cant,.. | Usuriaeth a'r gost. |
| Ohio,...................... | 6 y cant,.. | Usuriaeth yn ddifudd. |

| | | |
|---|---|---|
| Indiana, | 6 y cant, | Fforffetio dwy waith y gorlog. [llog. |
| Illinois (*d*), | 6 y cant, | Fforffetio tair gwaith yr usuriaeth a'r |
| Missouri (*e*), | 6 y cant, | Yr un fath a'r blaenorol. [ddyled. |
| Michigan, | 7 y cant, | Fforffetio yr usuriaeth a'r 4ydd o'r |
| Arkansas (*f*), | 6 y cant, | Fforffetio yr usuriaeth. |
| Florida, | 8 y cant, | Fforffetio yr usuriaeth a'r llog. |
| Wisconsin (*g*), | 7 y cant, | Fforffetio tair gwaith yr usuriaeth. |
| Iowa (*h*), | 7 y cant, | Fforffetio tair gwaith yr usuriaeth. |
| Texas, | 10 y cant, | Usuriaeth yn ddifudd. |
| Rhandir Columbia, | 6 y cant, | Usuriaeth yn ddifudd. |

(*a*) Amodau ar dybaco yn 8 y cant. (*b*) Drwy amod yn 10 y cant. (*c*) Rhai amodau yn 10 y cant. (*d*) Drwy amod yn 12 y cant. (*e*) Drwy amod yn 10 y cant. (*f*) Drwy amod mor uchel a 10 y cant. (*g*) Drwy amod yn 12 y cant. (*h*) Drwy amod mor uchel a 12 y cant.

Ymddengys i ni fod yn dra amlwg oddiwrth yr hyn a nodasom yn barod, os rhoddir 7 cent yn llog ar un ddolar am flwyddyn, y ceir allan swm yr holl log, a'r unrhyw nifer o ddoleri wrth eu lluosogi â 7. Gwel yr efrydydd hyn ar unwaith, ond iddo fanwl ystyried y pwnc.

RHEOL I GYFRIF LLOG ARIAN.

Lluosoger yr hawl â maint y llog wrth y cant, er cael y swm am flwyddyn, ac os bydd centiau yn yr hawl, noder allan bedwar o rifnodau ar y llaw dde yn y cynyrch yn centiau a thor-rifau. Mewn trefn i gael allan y llog am fisoedd, chwilier pa ran o flwyddyn fydd y misoedd, a chymerer yr un ran gyfartal o'r llog, a'r un modd am ddyddiau, canys hawdd fydd cael allan pa ran o fis fydd unrhyw nifer o ddyddiau. Wedi cael y llog am flwyddyn, rhaner y swm hwnw â 12, a'r ateb fydd y llog am fis; a rhaner yr ateb hwn â 30, nifer y dyddiau mewn mis, a'r ateb fydd y llog am un diwrnod. Lluosoger y llog am fis â nifer y misoedd, i gael y llog am fisoedd; a lluosoger, y llog am ddiwrnod â nifer y dyddiau a'r ateb fydd y llog am ddyddiau. Rhodder y gwahanol symiau yn nghyd, a'r cyfanswm fydd yr atebiad gofynedig.

ESIAMPAU YMARFEROL.

Pa faint yw llog $240 am 6 mis a 12 diwrnod, yn ol 7 y

Yn y lle cyntaf, ceisiwn y llog am flwyddyn, fel hyn: $240 × .07=$16,80, y llog am flwyddyn. Er cael y llog am fis, rhanwn hwn â 12: $16,80÷12=1,40 y llog am fis. Mewn trefn i gael allan y llog am un diwrnod, rhanwn hwn â 30: 140÷30=4666, y llog am ddiwrnod. Yn awr, gan mai am 6 mis a 12 diwrnod y mae eisiau y llog, lluosoger y llog am fis, sef $1,40 â 6: 140 × 6

=\$8,40 y llog am 6 mis. Eto, er cael y llog am 12 diwrnod, lluosogwn y llog am un diwrnod â 12 : 4666 × 12=.5599+. Rhodder y rhai hyn yn nghyd yn awr, sef \$8,40 × .55992=\$8,9599 y llog am yr holl amser.

Pa faint yw llog \$876,48 yn ol 6 y cant, am 4 blynedd, 9 mis a 14 o ddyddiau.

Y Gwaith yn llawn.

```
 $876,48
      06
 -------
12)52,5888=llog am flwyddyn; 52,5888 × 4=$210,3552.
 -------
30)4,3824=llog am fis; 4,3824 × 9=$39,44416.
 -------
   .14608=llog am un diwrnod; .14608 × 14=$2.0451.
```

Wedi cynodi y symiau uchod, sef \$210,3552+\$39,44416+\$2,0451=\$251,8442+, yr holl log, am yr holl amser.

Pa faint yw llog \$637,28, yn ol 8 y cant, am 17 mis a 19 o ddyddiau? *At.* \$74.915.

Pa faint yw llog \$35,49 am un mis a dau ddiwrnod, yn ol 7½ y cant? \$0.236.

Pa faint yw llog \$327,50 am 3 blynedd, 7 mis a 13 o ddyddiau, yn ol 7 cant? *At.* 82.9750.

Pa faint yw llog £27 15s. 9d. am ddwy flynedd yn ol 7 y cant? *At.* £3 17s. 9½d.

Pa faint yw llog \$68,25 am 8 mis a 24 o ddyddiau, yn ol 6 y cant? *At.* \$3,00.

## Cydgymhariaeth (Rule of Three.)

Gan na oddef terfynau y gwaith hwn i ni fanylu llawer ar y gwahanol adranau a rheolau, terfynwn drwy roddi ychydig o eglurhad ar y rheol a elwir Cydgymhariaeth, gan fod yn wir angenrheidiol i'r celfyddydwr a'r ffarmwr ei deall. Gwasgwyd hyn yn agos at ein meddwl yn ddiweddar wrth brynu llwyth o goed gan ffarmwr, yr hwn a ddywedodd ei fod yn codi pum' dolar y cord am

ei goed. Wedi ffurfio pentwr taclus o'r coed, er mesur cord yn gywir, gwelwyd nad oedd y pentwr yn 8 droedfedd o hyd, 4 troedfedd o led, a 4 troedfedd o uchder, ac o herwydd hyny nid oedd yn gord. Hyd y pentwr oedd 7 troedfedd a 8 modfedd, yn lle 8 troedfedd. Dywedais wrth y ffarmwr am wneyd allan y pris yn ol pum' dolar y cord, ond wedi llanw talcen baril drosto â ffigyrau, dywedai nad allai ei wneyd er boddlonrwydd iddo ei hun. Gwelais ar unwaith mor werthfawr fuasai iddo ddeall Cydgymhariaeth, a dywedais wrtho fod cord o goed yn cynwys 128 o droedfeddi cyfochrog (*solid.*) Ceir hyny allan fel y canlyn: 8×4=32×4=128. Lluosoger hyd y cord, sef 8 troedfedd, a'i led, sef 4 troedfedd, a cheir 32, a lluosoger hwn â'i uchder, sef 4 troedfedd, a cheir 128 o droedfeddi cyfochrog. Yn awr, nid oedd hyd y pentwr oedd o'n blaen ond 7 troedfedd a 8 modfedd, neu 7¼ o droedfeddi. Wedi lluosogi 7¼ â 4, ceir 29, a lluosoger hwn â 4 drachefn, a cheir 116 o droedfeddi cyfochrog. Dywedais wrtho yn awr fod y pwnc yn sefyll fel hyn: Os oedd 128 o droedfeddi cyfochrog o goed yn werth pum' dolar, pa faint yw gwerth 116 o droedfeddi? Mae yr atebiad i'w gael oddiwrth y berthynas sydd rhwng 128 o droedfeddi â phum' dolar, yna gwnaethom fel y canlyn: 128 : 116 :: 5 : $4,68. Caed yr atebiad uchod yn y dull yma: 116×5=580 ÷128=$4,68.

Mae yn amlwg oddiwrth yr hyn a ddywedwyd fod Cydgymhariaeth yn gynwysedig yn y tebygolrwydd rhwng y gwahanol symiau, neu y cyfartalrwydd cydrhyngddynt a'u gilydd. Os cymharwn 5 â 10, ac 8 âg 16, ni a welwn fod y berthynas yn gyfartal, canys y mae 5 yn myned i 10 ddwy waith, ac yr un modd mae 8 yn myned i 16 ddwy waith heb ddim yn weddill. Os cymerir unrhyw bedwaredd rhif yn y dull a nodwyd, mae yn canlyn y bydd yr un berthynas, neu gyfartalrwydd, rhwng y cyntaf a'r ail ag a fydd rhwng y trydydd a'r pedwarydd. Mae yr un berthynas gymharol rhwng 8 a 4, ag sydd rhwng 12 a 6, oblegid y mae 8 yn cynwys 4 ddwy waith, fel ag y mae 12 yn cynwys 6 ddwy waith. Eto, gellir dangos fod 3 a 9 yn gymharol i 7 a 24, o herwydd y rhesymau a nodwyd. Wrth weithio allan gwestiwnau mewn cydgymhariaeth, gwelir fod tri o ffeithiau, neu dermau yn cael eu rhoddi, oddiwrth pa rai y mae y pedwerydd i'w gael allan. Wele enghraifft: Os gellir prynu 14 cord o goed am $56, pa nifer o gordiau a ellir brynu am $84? Gwelir fod yma dri o ffeithiau, neu dermau, yn

cael eu rhoddi, sef $56, $84, a 14 cord. Sylwer mai doleri yw y ddau derm cyntaf, a'r 14 cord yw y trydydd. Rhaid i'r term fydd o'r un natur a'r ateb ceisiedig fod y trydydd term bob amser, ac mewn trefn i gael yr iawn atebiad, rhaid lluosogi yn nghyd yr ail a'r trydydd term, a rhanu y cynyrch â'r term cyntaf, a'r atebiad fydd y pedwerydd term, neu yr ateb ceisiedig. Mewn trefn i ateb y pwnc uchod, ni a luosogwn $84 â 14 a chawn 1176 yn gynyrch; yna rhanwn hwn â 56, a cheir 21 yn atebiad. Gan hyn, gwelir, os ceir 14 cord o goed am $56, y gellir prynu 21 cord am $84. Saif y gwaith fel hyn : $56 : $74 :: 14 : 21. Mae y pedwar term yn yr esiampl uchod yn sefyll yn eu lleoedd priodol, $56 a $84 yn gyntaf, yna 14 cord a 21 cord yn ail. Bodola y cyfartalrwydd cymharol rhwng $56 a $84, a rhwng 14 cord a 21 cord. Oddiwrth a ddywedasom, rhoddwn y rheol hon.

RHEOL.

Gwneler y term fydd o'r un natur a'r atebiad, yn drydydd term, ac os bydd yr atebiad i fod yn fwy na hwn, gwneler y mwyaf o'r ddau derm arall yn ail, ond os bydd yr atebiad i fod yn llai, gwneler y mwyaf yn gyntaf. Lluosoger yr ail â'r trydydd yn nghyd, a rhaner y cynyrch â'r term cyntaf.

ESIAMPLAU YMARFEROL.

Os cyst 16 o erwau o dir $720, pa faint a gyst 197 o erwau? *At.* 8865.

Os gellir prynu 197 o erwau o dir am $8865, pa nifer o erwau a ellir brynu am $720? *At.* 16.

Os gall person gerdded 48 milltir mewn 6 awr, pa nifer o filltiroedd a all gerdded mewn 24 o oriau? *At.* 192.

Os gall 9 o bersonau wneyd tŷ mewn 17 o ddyddiau, mewn pa nifer o ddyddiau y gallai tri o bersonau wneyd tŷ cyffelyb? *At.* 51.

Gan fod yr awdwr yn bwriadu cyhoeddi gwaith eangach ar rifyddiaeth, ac o herwydd fod terfynau y llyfr hwn mor gyfyng, nis gellir cyffwrdd â rhanau eraill rhifyddiaeth yn bresenol.